

**Y Diweddar Emrys Ap Iwan.**

"Gŵr cnodiog, byr, dyddorol, rhadlon, glew,—
Cyforiog o hynodion ac o ras,—
Mor annibynol ag o bur a doeth.—
Mor gyflawn o arabedd ag o serch.
Mor iach ei galon—ffyddlon fel yr haul,
A gonest fel gwirionedd; pwy erioed
Fradychodd ef, neu wanodd yn ei gefn?"

IOLO CAERNARFON.

# Homiliau.

GAN Y DIWEDDAR

## Parch. R. Ambrose Jones

(EMRYS AP IWAN).

AIL ARGRAPHIAD.

Argraphwyd a Chyhoeddwyd gan Gee a'i Fab, Cyf., Dinbych.

1907.

# CYNNWYSIAD.

Darlun
Cyflwynair
Homiliau :—

I. Am Dduw, a'n dyledswydd tu ag atto ... Rhif 1 hyd 8
II. Am Grist, a'n dyledswyddau tu ag atto ... „ 9 „ 14
III. Am ddyn, a'i ddyledswydd tu ag atto'i hun a thu ag at ei gyd-dynion ... ... „ 15 „ 20
IV. Am yr eglwys. ... ... ... „ 21
V. Am y pethau a fydd ... ... ... „ 22 „ 24

| RHIF. | | TUDAL |
|---|---|---|
| 1. | Meddyliau càlon Duw | 9 |
| 2. | Pan oedd Abram yn 99 | 22 |
| 3. | Y ddysc newydd a'r hên | 41 |
| 4. | Dyneiddio Duw | 59 |
| 5. | Issi | 75 |
| 6. | Gweledigaeth Esay | 87 |
| 7. | Addoli Yspryd a Thad | 102 |
| 8. | Y gorchymmyn mawr | 116 |
| 9. | Duw yn cospi dyn wrth ei gadw | 129 |
| 10. | Y croeshoeliad yn ddyrchafiad | 149 |
| 11. | Crist yn eiriol heb weddio | 177 |
| 12. | Gweddi a gwaith | 192 |
| 13. | Hela heb ddala | 192 |
| 14. | Perthynasau yn ol yr Yspryd | 209 |
| 15. | Y creadur bach mawr | 223 |
| 16. | Y ddwy alwedigaeth | 233 |
| 17. | Crefydd yn dreftadaeth | 254 |
| 18. | Y ffordd fforchog | 266 |
| 19. | Caru difyrrwch | 277 |
| 20. | Cymru gelwyddog | 296 |
| 21. | Discyblaeth eglwysig | 313 |
| 22. | Pechod yn cospi | 327 |
| 23. | Y cochl | 339 |
| 24. | Yr awr a fydd yn awr y sydd | 353 |

# CYFLWYNAIR.



PAN ofynodd EMRYS AP IWAN imi, dri diwrnod cyn marw, a gymmerwn i ofal dygiad ei *Homiliau* drwy y wasg, cyttunais yn ebrwydd. Gwneuthum hynny, nid yn unig am ei fod yn gyfaill anwyl imi; ond hefyd, am y gwyddwn ei fod yn awdwr mor gywir a gofalus fel nad oedd berygl i mi wneyd cam ag ef mewn gair na meddwl. Yr oedd efe ei hun wedi gallu cywiro prawflenni y pedair homili ar ddeg blaenaf; darllenais innau y lleill; a hyderus wyf i mi eu gadael yn lled agos i'r hyn y mynnasai efe iddynt fod. O leiaf, mi a wn hyn—i mi gael hyfrydwch diledryw *wrth* eu darllen; ac os bydd i eraill gael yr unrhyw hyfrydwch ag a gefais i, cânt ddigon.

Cyn hir, ond odid, bydd i rywun cyfarwydd â ffeithiau syml ei fywyd, âg ansoddau ei feddwl goludog, â neillduolion ei gymmeriad tryloew oedd fel y diemwnt amlwyneb yn pefru dan bob golau, â gwerth ei gynnyrchion awdurol, ac â'i ddyfalwch dibaid fel myfyriwr a gweithiwr,—bydd i rywun "gymmeryd mewn llaw osod allan mewn trefn" y pethau hyn oll, gan gyhoeddi yr un pryd ei amryfal ysgrifau, er budd ei gydwladwyr. Hyd hynny, llefared yr *Homiliau*.

Bydd llu o'i edmygwyr yn dra siomedig oni roddir i'r *Homiliau* le uchel iawn yn llenyddiaeth Cymru. Y maent o ran eu ffurf, eu cynnwys, a'u gwerth ymarferol yn haeddu hynny. Anfynych y gwelwyd yn unman gyfuniad mor happus o gywreinder y celfyddwr, grym y meddyliwr, a dawn y dysgawdwr ag a welir yn yr *Homiliau* hyn.

*Y mae eu harddull yn rhagorol.* Gwyddys fod EMRYS AP IWAN yn adnabod yn dda deithi a rhagoriaethau y Gymraeg. Yr oedd yn gyfarwydd â'i holl glasuron. Ymdrôdd yn hir gyda Morus Cyffin a Morgan Llwyd, Charles Edwards ac Edward Samwel, Ellis Wynne a Lewis Edwards, a deallodd eu cyfrinion. Etto nid at yr un o honynt yr aeth efe i geisio arddull, ond i'w feddwl goludog ei hun. Yfodd yn helaeth o'u hanianawd hwy, ond cadwodd ei hunaniaeth. Elwodd ar eu perlau, nid trwy eu lladratta, ond trwy farchnatta yn gall arnynt. Tra yn edmygydd o'u teleidion a'u neillduolion hwy, ymrôdd i ffurfio arddull iddo ei hun, a llwyddodd. Efe a ennillodd feistrolaeth mor drylwyr ar y Gymraeg fel y parai iddi ymlapio fel mantell gymmesur am ei feddyliau; neu yn hytrach, parai i'w feddyliau ymwthio iddi a rhoddi ffurf arni mor naturiol ag y rhydd bywyd y rhosyn ei ffurf wahaniaethol arno yntau. Am hynny, er y gellir yn hawdd ei hedmygu, anawdd ac afraid ei hefelychu: efe a'i pïau; yn wir, efe ei hun ydyw. Er hynny, pe mynnai rhywun gymmorth i greu iddo ei hun arddull gref, loew a hydwyth, buddiol fyddai iddo ddarllen llawer ar yr *Homiliau* pe na byddai i ddim ond hynny.

*Y mae eu cynnwys yn feddylgar.*—Er bod ynddynt ragoriaeth iaith, etto nid iaith yw eu prif ragoriaeth. N faliai EMRYS AP IWAN nemmor am arddull fel addurn yn unig; ond rhoddai bris mawr arni fel gallu i drosglwyddo. Iddo ef yr oedd ei gwerth yn ei gwasanaeth; a rhydd iddi lonaid ei breichiau o waith yn yr *Homiliau* hyn. Y mae ynddynt doraeth o feddyliau; ac, yn ei arddull dd ledryw ef, y maent fel "afalau aur mewn gwaith arian cerfiedig." Teithiodd lawer, darllennodd lawer, myfyriodd lawer. Daeth yn gyfarwydd ag ieithoedd amrai wledydd er mwyn eu meddylwyr; nid fel y cynnyddai

ystôr ei wybodaeth yn unig, ond fel y derbyniai ysbrydoliaeth a nerth ganddynt i ddiscyblu a chryfhau gallu cynnyrchol ei feddwl ei hun. Bwriai yr hyn a gaffai i ffwrn ei feddwl, a llifai allan yn y man, yn aur wedi ei buro, i'r fold a fynnai efe. Am hynny, efe a ddaeth yn gynnyrchydd, ac nid dynwaredydd. Am hynny hefyd, y mae tlysni a nerth meddyliol yn nodweddu ei *Homiliau*. Ie, tlysni a nerth—weithiau ar wahân, weithiau yn ymgydwâu, ond o hyd yn ymddangos. Pan y gwelwn y gemau gwahanedig yr ydym yn dywedyd "Dyma dlws;" a phan y gwelwn y gemau hynny wedi eu llinynnu yn gyfanwaith gorffenedig, yr ydym yr un mor barod i ddywedyd, "Dyma nerth." Gellid yn hawdd, o'r pregethau hyn, gasglu llu mawr o ymadroddion pert yn cynnwys meddyliau cyfan a chwbl gryno ynddynt eu hunain; ac etto pan welwn hwy yn eu lleoedd priodol, yr ydym yn eu cael yn ymddolennu mor naturiol â'r ymadroddion o'u blaen ac ar eu hôl nes ffurfio un gadwen gyfandlos, gref, a chymmesur. Mae yma unoliaeth mewn amrywiaeth. Ac efallai mai yn hyn y gwelir amlyccaf nerth y meddyliwr; sef, yn ei fedr i gyfuno a chrynhoi ei ddrychfeddyliau yn un pŵer grymmus i gludo gwirionedd mawr ei destyn yn syth i ddeall, neu serch, neu gydwybod ei wrandawyr. Fe deimlodd llawer y nerth hwn wrth wrandaw; ac fe'i teimlir gan filoedd etto wrth ddarllen.

*Y mae eu gwerth ymarferol yn fawr.*—Yr oedd EMRYS AP IWAN yn ddiwinydd, ond nid ar linnellau y diwinydd cyfundrefnol y rhedai efe. Yr oedd yn feirniad, ac yr oedd ei wybodaeth ieithyddol yn ei gymmhwyso i fod yn feirniad yscrythyrol da, ond nid yw efe yn ymdroi llawer yn nhir beirniadaeth. Dywedai yn fynych nad oedd yn fardd; ond os yw yn nod angen bardd i fedru cipio y drychfeddwl ar ei hediad, a'i wisgo mewn tlysni neu arddunedd, a'i

gyflwyno i lygad arall fel yr ymddengys iddo ef ei hun, yna yr oedd EMRYS AP IWAN yn fardd. Ond nid fel bardd y mynnai efe ragori. Yn anad dim *dysgawdwr* ydoedd. Yr oedd ei wybodaeth eang, ei feddwl treiddgar ei graffder hynod fel sylwedydd, a'i fedr i saernïo ymadroddion cywrain ond clir yn ei gymmhwyso i fod yn athraw *da*; ac yr oedd ei onestrwydd a'i gydwybodolrwydd yn ei ogwyddo yn wastad at fod yn athraw *buddiol.* Gofalai am lusern dlos, yn llawn golau, a pharai iddi lewyrchu i'r conglau tywyllaf; ond bob amser *er mwyn* goleuo. Llusern i *draed*, a llewyrch i *lwybr* ei wrandawyr oedd ei oleuni ef. Gallai ymddisgleirio; ond er mwyn dangos ac nid *ym*ddangos y gwnelai hynny. Gofalai am thusser, a honno yn thusser aur, ceisiai dân oddi ar allor Duw, chwiliai am y llysiau gwerthfawrusaf; ond os na byddai yr arogldarth yn bêr ac iachusol, efe a deimlai fel un yn offrymmu tân dieithr. At leshâd yr ymgyrhaeddai bob amser. Torrai blisgyn yr adnod i rannu y cnewyllyn, ac nid i ddangos nerth ei ddant. Suddai ar unwaith i ddyfnderoedd ei destyn, gafaelai yn ei brif ddrychfeddwl, dadansoddai ac eglurai ef: ond troai ef byth a hefyd i bwrpas ymarferol. Yr oedd ganddo arabedd, a gwatwareg, a hoen; ond nid oeddynt yn ddim mwy ganddo efe nag olew i oleuo ei lusernau. Y canlyniad yw fod ei *Homiliau* yn llwythog o gyfarwyddiadau, cynghorion, rhybuddion, ïe a cheryddon hefyd; ac nid pethau eiddil, diflannedig monynt chwaith, ond pethau byw, ac *i* fyw. Ac er bod y meddwl a'u cynnyrchodd wedi newid ei fyd, a'r tafod a'u traddododd wedi distewi, y maent hwy yn aros i wneud y gyfrol hon yn fwy ei gwerth am y bydd yn fwy ei gwasannaeth.

EZRA ROBERTS.

RHUTHYN,
*Mehefin 12, 1906.*

# GAIR GYDA'R AIL ARGRAFFIAD.

---

Bu fel y disgwyliwyd. Aeth yr argraffiad cyntaf o'r "Homiliau" o ddwylaw yr argraffwyr yn fuan iawn wedi ei ymddangosiad, a gelwir yn awr am ail. Ni ddymunasai edmygwyr pennaf Emrys Ap Iwan gydsain lwyrach o glodforedd nag a fu i'r pregethau hyn. Buont ar leferydd gymmeradwyol y wlad am fisoedd,—ar aelwydydd, ar y ffordd, ar lwyfannau, ac ar ddalennau y wasg. Unsain hollol fu clod y beirniaid, fel y gwelir yn nes ym mlaen.

Daeth dau beth yn hysbys ddigon i'r cyhoeddwyr. Un yw, fod cannoedd wedi derbyn boddhad yn narlleniad yr Homiliau; y llall yw, fod cannoedd eraill yn dyhêu am yr unrhyw foddhad. Hyn yw y rheswm am yr ail argraffiad hwn, a anfonir allan heb ddim ofn am y croesaw a roddir iddo.

Hwyrach yr egyr ambell un ei lygaid yn syn at hyrddiadau disymmwth a dwfn-dreiddiol rhai o fratheiriau yr awdwr. Hwyrach y myn rhai ei fod ar adegau yn lledymollwng oddi wrth yr hen angorfëydd diwinyddol. Ond am wreiddiolder, gloewder ac arucheledd ei feddyliau; am goethder a nerth ei iaith; am geinder a chyfaddasder ei ddelweddau; ac am ogwydd diwyrni ei addysgiadau at leshad, ni bydd dwyfarn. A'r peth olaf hwn sydd o bwys parhaol. Ond odid y newidia safonau llenyddol, ond erys egwyddorion moesoldeb. Gwir yw fod Emrys ap Iwan yn un o dywysogion llenyddol ei wlad; ond yr oedd yn fwy na hynny,—yr oedd yn "ŵr o brophwyd"

wedi "ei anfon oddiwrth Dduw;" ac fe erys grym y prophwyd pan ballo swyn y llenor. Edmygai efe geinion iaith, ond mawrygai nerth dyrchafol meddyliau. Y mae afon o ddwfr bywiol yn llifo drwy yr *Homiliau* hyn, yr hon a ddeil i lifo er llonni ac adlonni y sychedig, pan dderfydd—os derfydd hefyd—y gallu i edmygu teleidion ei glannau. Os yw Emrys ap Iwan heddyw o "fyd yr ysbrydoedd" yn gallu dilyn dylanwad ei lyfr, diau y cyfyd ei foddhad yn fwy o'r lles ysbrydol nag o'r gwerth lenyddol sydd ynddo. Am hynny, da fydd deall fod yr *Homiliau* ardderchog hyn yn rhoddi boddhad; gwell fydd gwybod eu bod yn rhoddi budd; ond gwell fyth fydd gallu dyweyd fod y budd yn siccrach, yn ddyfnach, a mwy parhaol am ei fod yn dyfod trwy foddhad. A ddaw adeg byth pan y gwelir y perl hwn yn ei werth, a'r blwch wedi rhydu, nis gŵyr neb; ond sicr yw y cyflwynir heddyw berl drud mewn blwch o aur.

EZRA ROBERTS.

RHUTHYN,

*Awst 24, 1907.*

# BARN Y WASG.

---

*Y Brython.*—"Nid oes ynom y petrusder lleiaf i ddyweyd y dylai y pregethau hyn fod gan bob llenor Cymreig oblegid eu hiaith; gan bob pregethwr oblegid eu ffurf a'u cynnwys; a chan bob crefyddwr proffesedig oblegid eu haddysg bur a'u meddyliau dyrchafedig."

*Y Drysorfa.*—"Cyfunir ynddynt symledd a choethder, gwreiddiolder ac annibyniaeth, tlysni a dyfnder."

*Y Faner.*—"Pwy bynnag a ddarlleno y pedair homili ar hugain hyn, caiff wledd. Cyfoethogir ei feddwl, deffroir ei gydwybod, ac yn fynych swynir ac ennillir ei gàlon."

*Y Goleuad.*—"Dyma gyfleusdra i fwynhau yr Efengyl mewn Cymraeg wedi ei hysgrifenu gan un o'r meistriaid."

*Y Manchester Guardian.*—"Mae yr *Homiliau* hyn yn gyfoethog o feddwl gwreiddiol, ac y maent wedi eu gwisgo mewn ymadroddion tra swynol, yn esgyn weithiau i wir hyawdledd a phrydferthwch barddonol, a phob amser mewn Cymraeg mor bur ac iaithweddol fel na allai unrhyw gyfieithiad wneuthur cyfiawnder â'r gwreiddiol."

*Y Traethodydd.*—"Un o'r pethau gwychaf o ran iaith a meddwl a fedd ein llenyddiaeth."

*Y Tyst.*—"Llyfr nodedig yw hwn, a bydd yn syn genym os na ddyogela i'w awdwr le parhaol yn mysg ysgrifenwyr galluocaf ein cenedl."

# HOMILIAU.

---

## I.

## MEDDYLIAU CALON DUW.

"*Cyngor yr Arglwydd a saif yn dragywydd; meddyliau ei gàlon o genedlaeth i genedlaeth.*"—SALM xxxiii. 11.

Yn ôl yr Iesu, barn, trugaredd a ffydd; neu, mewn Cymraeg diweddar a mwy dealladwy, cyfiawnder, trugaredd a ffyddlondeb, yw pethau trymmaf y gyfraith. Dyma'r tri rhinwedd yr ydys yn eu hoffi fwyaf mewn dynion, a dyma'r tair priodoledd yr ydys yn eu hoffi fwyaf yn Nuw. Er hynny, a barnu wrth weddïau a phregethau'r dyddiau hyn, nid yw'r tri pheth mor gyfartal eu gwerth gennym fel priodoleddau yn Nuw ag ydynt fel rhinweddau mewn dynion; canys byddwn yn sôn mwy o lawer am drugaredd Duw nag am ei gyfiawnder, ac yn sôn mwy am ei gyfiawnder nag am ei ffyddlondeb. Y mae yn rhyfedd ein bod yn sôn cyn lleied am briodoledd nad oedd y Salmyddion a'r proffwydi a'r apostolion byth yn blino ar glodfori Duw am dani. Nid oedd dim yn Nuw yr oeddynt hwy yn ei fawrhau yn fwy na'i ffyddlondeb, ei gadernid a'i anghyfnewidioldeb. Os nad yw y rhain yr un peth, y maent bob amser yn gyssylltedig; canys am fod Duw yn anghyfnewidiol y mae yn gadarn, ac am ei fod yn gadarn y mae yn ffyddlon. Y mae Duw ei hun yn dangos mai am ei fod ef yn ddigyfnewid y mae ei bobl yn gadwedig.—"Myfi yr Arglwydd ni'm newidir; am hynny ni ddifethwyd chwi;" ac am ei fod ef yn Dduw cadarn ac yn Dduw ffyddlon yr oedd

yn wiw gan yr hên dduwiolion ymddiried ynddo. Nid oes odid un Salm nac un broffwydoliaeth yn yr Hên Destament a'r nad yw yn sôn am wirionedd Duw; a dealler mai cywirdeb neu ffyddlondeb Duw yr ydys yn ei feddwl yn gyffredin wrth ei wirionedd. Am ei fod yn Dduw gwirionedd y *mae* yn ffyddlon i gyflawni ei air, ei gyfammod a'i addewidion. Peth oriog a mympwyol iawn a fuasai trugaredd Duw, pe na buasai hi yn gorphwys ar ei wirionedd a'i ffyddlondeb. Y mae ambell ddŷn y byddwn yn cael achos i ddywedyd am dano: "Y mae yn ddŷn caredig iawn, ond nid oes fawr o ddal arno. Ni ellir dibynnu dim ar ei air, ac ni wyddys pa hyd y pery ei garedigrwydd tu ag at yr un rhai." Yr ŷm yn gallu caru'r cyfryw ddŷn, ond ni allwn ei barchu, am nad yw yn ddŷn y gallwn ymddiried ynddo. Ac y mae'r dynion y gellir eu parchu yn brinnach ar y ddaear hyd yn oed na'r dynion y gellir eu caru; a hynny am fod dynion ffyddlon yn brinnach na dynion caredig; o herwydd pa ham yr ydys yn dywedyd yn Llyfr y Diarhebion: "Llawer dŷn a gyhoedda'i drugarogrwydd ei hun; ond pwy a gaiff ŵr ffyddlon?" Ond am y Duw yr ydys yn sôn am dano yn fy nhestyn, y mae ei ffyddlondeb ef yn ogymmaint a'i drugaredd; ac am hynny, y mae yn Dduw y gellir ei garu a'i barchu hefyd: yn Dduw y gellir ymhoffi ac ymddiried ynddo.—"Ei drugaredd ef a bery yn dragywydd," am ei fod yn Dduw digyfnewid. "Cyngor yr Arglwydd a saif yn dragywydd; meddyliau ei gàlon o genedlaeth i genedlaeth.

Er mai ffyddlondeb y Duw digyfnewid yn ei lywŵodraeth ar y byd yw'r gwirionedd cyffredinol y mae'r testyn yn ei ddyscu, etto nid ar hwnnw yr ŵyf fi yn bwriadu sylwi rhag llaw, eithr ar ddau neu dri o wirioneddau neillduol y mae prif eiriau y testyn yn eu hawgrymmu.

Gwyddoch fod pennill mewn prydyddiaeth Hebreig yn gynnwysedig o ddwy lin (weithiau o dair), a bod y ddwy lin hynny yn gyfochrol eu hystyr. Y maent yn gyfochrol weithiau am eu bod yn gyferbyniol eu hystyr. ac weithiau am eu bod yn gyttunol. Pan y bônt yn gyttunol eu hystyr, y mae'r llin olaf yn cyflawni neu ynte yn egluro ystyr y llin flaenaf. Felly yn y testyn: y mae'r ail lin yn cyfatteb i'r llin flaenaf, a'r ddau ymadrodd sydd yn y naill yn egluro ystyr y ddau ymadrodd sydd yn y llall; hynny ydyw, y mae'r ymadrodd "meddyliau ei gàlon," yn dangos pa beth yw meddwl "cyngor yr Arglwydd," a'r ymadrodd "o genedlaeth i genedlaeth" yn dangos pa beth yw meddwl yr ymadrodd "yn dragywydd." Felly hefyd yn yr adnod o flaen y testyn: y mae "amcanion pobloedd" yn yr ail lin yn gyfattebol ac yn ogyfystyr â "chyngor y cenedloedd" yn y llin flaenaf. Gellir dyweyd hefyd mai'r un gair sydd am "feddyliau" yn y testyn ag sydd am "amcanion" yn yr adnod o'r blaen. Am hynny, meddyliau sy'n amcanion yw meddwl y gair "meddyliau" yn y testyn.

Yn awr, gan fod y gair "meddyliau yn y llin olaf yn eglurhad ar y gair "cyngor" yn y llin flaenaf, gellir dywedyd fod y gair "cyngor" hefyd i ni yn eglurhad ar y gair "meddyliau." Ond nid meddyliau oerion y pen ydyw'r meddyliau hyn, eithr meddyliau'r gàlon; ac am hynny y mae'r Salmydd wrth chwanegu'r gair càlon yn dwyn syniad newydd i mewn.

Felly dyma'r tri phwnc y sylwaf arnynt ar bwys geiriau mawr y testyn:

MEDDYLIAU DUW YN GYNGOR.

CYNGOR DUW YN FEDDYLIAU.

MEDDYLIAU DUW YN FEDDYLIAU EI GALON.

1. *Meddyliau Duw yn gyngor.* "Yr Arglwydd ein Duw ni sydd un Arglwydd," medd y Bibl. Gan fod Duw yn un, y mae ei feddyliau yn un. Y mae ei holl feddyliau ef yn ymgyfarfod ac yn ymgrynhoi mewn un meddwl mawr. Meddyliau ydynt sy'n ymgyfuno yn gyngor. Mewn gwirionedd, un meddwl sy gan Dduw; a llefaru yn ol dull dŷn yr ydys wrth ddywedyd fod ganddo feddyliau. Ffurfiau yn unig ar feddwl Duw ydyw ei feddyliau; ac yn ffurf meddyliau gwahanedig y gall dŷn meidrol ganfod meddwl y Duw anfeidrol. Gan ein bod yn rhy fychain i amgyffred meddwl Duw yn ei gyfander ac yn ei unoliaeth, trwy ei feddyliau yn unig y gall efe ymddangos ac ymddadguddio i ni; a chan nad yw holl feddwl Duw yn ei feddyliau, rhannau o'r meddwl hwnnw a allwn ni eu canfod. I'n golwg *ni* y mae meddwl Duw yn feddyliau; a chan fod meddyliau yn wahanadwy, y maent yn ymddangos i ni yn wahanedig hefyd, yn rhannedig, ae weithiau yn anghysson â'u gilydd. Er engraifft, y mae bwriad Duw i gospi pechod a'i fwriad i faddau am bechod yn ymddangos i ni yn ddau fwriad gwahanol, os nad gwrthwynebol hefyd; ond yn Nuw un bwriad ydynt. I'n golwg cibddall ni, y mae trefn gras yn dynerach na threfn natur, a Duw iachawdwriaeth yn fwynach na Duw rhagluniaeth, ond ynghyngor Duw nid oes dwy drefn wahanol; a chan fod Duw yn un, ni all efe fod yn fwynach mewn un cylch nag mewn cylch arall. A ydyw'r Arglwydd yn gweithredu megis gŵr dau-ddyblyg ei feddwl wrth waredu'r tad o safn angau, a gadael i'w fab ddiscyn yn ieuangc i'w fedd? Nac ydyw, yn sicr; ac am hynny, nid yw efe fel dŷn yn anwastad yn ei ffyrdd. Os yw efe yn drugarog o gwbl, yna y mae ei drugaredd ar ei holl weithredoedd. Os yw yn dosturiol wrth fywhau, y mae yn dosturiol wrth farwhau hefyd.

Uwch yw meddyliau Duw na meddyliau dŷn.—Pa faint uwch gan hynny yw ei feddwl? Meddyliau Duw, er uched ydynt, sy'n dyfod hyd attom ni, fel y mae pelydrau'r haul sy'n dyfod hyd at y ddaear; ond fel y mae pelydrau lawer yn dyfod o'r un haul, felly y mae holl feddyliau Duw yn dyfod o'r un meddwl. Yn agos attom ni, y mae'r meddyliau hyn yn ymddangos yn wasgaredig; fry, y maent yn gyfunedig mewn un clobyn crwn o oleuni.

Os nad ŷm bob amser yn amgyffred meddwl yr Arglwydd, credwn fod ganddo feddwl, a bod y meddwl hwnnw yn cynnwys ac yn cydgylymmu ei holl feddyliau. Y mae gwyddoniaid er ys talm bellach wedi darganfod nad yw holl ddeddfau natur ond gwahanol amlygiadau o un ddeddf gyffredinol: ac yr ŷm ni, Gristionogion, yn dywedyd mai un ddeddf sydd, am mai un Duw sydd. Y mae undod y Creawdr yn peri fod unoliaeth yn ei holl greadigaeth, ac yn ei holl lywodraeth arni. Er y gall olwynion ei beiriant ef droi yn groes-ymgroes, etto y maent oll yn troi yn gyttûn â'u gilydd, ac i'r un a'r unrhyw berwyl. Y mae bwriad y Goruchaf yn ymweithio ynghanol ei fwriadau; ïe, ynghanol bwriadau dynion, er mor wrthwynebol yw eu bwriadau hwy i'w fwriadau ef, ac i fwriadau eu gilydd. Yr oedd yn hawdd i Ioseff faddau i'w frodyr eu camwedd yn ei erbyn, pan ganfu fod eu bwriadau hwy tu ag atto yu ddarostyngedig i fwriad daionus Duw. "Chwi," eb efe, "a fwriadasoch ddrwg i'm herbyn; ond Duw a'i bwriadodd i ddaioni, i ddwyn i ben, fel y gwelir heddyw, i gadw yn fyw bobl lawer." "Yr awr hon nid chwi a'm hebryngodd i yma, ond Duw." A phan na byddo amcanion dynion yn cydweithio âg amcan Duw, yna y mae efe yn diddymmu eu hamcanion, fel ag y diddymmodd e gyngor Achitóphel i ddifetha Dafydd, a chyngor Haman i ddifetha holl genedl yr Iddewon. Ac y mae efe yn

ddigon galluog nid yn unig i ddiddymmu amcanion dynion ar eu pennau eu hunain, eithr hefyd i ddiddymmu amcanion dynion lawer, a fo mewn undeb â'u gilydd.—"Yr Arglwydd sy'n diddymmu cyngor y cenedloedd; y mae efe yn diddymmu amcanion pobloedd." Ac nid ar y gair "cenedloedd" yn unig y dylid pwyso: dylid pwyso ar y gair "cyngor" hefyd.—"Y mae efe yn diddymmu *cyngor* y cenedloedd." Y mae yn diddymmu eu hamcanion hyd yn oed pan fo'r amcanion hynny wedi ymgyfuno yn gyngor. Y mae mesur o unoliaeth yn amcanion ambell ddŷn, ac weithiau yn amcanion cenedl, ac weithiau yn amcanion amryw genedloedd; er hynny, y mae cyn hawdded i Dduw ddiddymmu cyngor teyrnas gyfan a diddymmu cyngor un o aelodau'r deyrnas honno. Yn ddiau, peth cryf yw cyngor un dŷn. Gall ei amcanion fod yn feinion ac yn frau fel llinynnau; er hynny, pan fo'r llinynnau hynny wedi eu cyfrodeddu yn rhaff—pan fo amcanion dŷn wedi eu cyfuno yn gyngor, y maent yn gryfion iawn. Pwy o ran eu gallu—o ran eu gallu, meddaf, yw'r dynion tebyccaf i'r Duw hollalluog? Y dynion y mae eu meddyliau dan lywodraeth rhyw un meddwl mawr. Ym marn y diweddar Mr. Gladstone, Iŵl Cesar a Napolèon Bonaparte oedd y ddau ddŷn mwyaf eu hymmennydd a welodd y byd er amser yr hên Roegiaid. Yr oedd gan y ddau hynny feddyliau lawer, ond nid yn amlder eu meddyliau yr oeddynt yn rhagori ar eraill, eithr yn unoliaeth eu meddyliau. Meddwl eu meddyliau, sef eu meddwl llywodraethol; bwriad eu bwriadau—eu cyngor oedd yn eu gwneyd hwy yn ddynion anghyffredin. Er hynny, pan beidiodd y rhain â chydweithio â Duw, a dechreu o honynt ormesu ar ei hawliau ef, diddymmodd efe'u cyngor. Parodd i Cesar gwympo trwy ddwylaw dynion nad oeddynt yn deilwng i ddattod carrai ei escid. Parodd oruchfygu Napolèon trwy ddynion mor gyffredin a Welling-

ton a Blücher. A golygu eu diwedd o un cyfeiriad, gellir dywedyd ddarfod eu difetha trwy eu gwendid eu hunain, sef trwy ddarfod i rai o'u meddyliau ymgodi yn erbyn eu cyngor. Duw, wedi'r cwbl, sy'n feistr ar ei holl feddyliau. Ei amcanion ef sydd oll yn cyrchu at yr un nod. Yn ei fwriadau ef y mae undod llwyr.

A pha beth ydyw bwriad mawr Duw? Gogoneddu ei hun. Dyma fwriad na ddylai gael lle ym mynwes un dŷn, a bwriad na all fod mewn dŷn, heb ei ddrygu ef ei hun a drygu eraill hefyd. Ond y mae'r Arglwydd, ein Iôr ni, yn ddigon mawr i fod yn hunanol. Y mae yn weddus iddo ef ganmol ei hun, ac yn iawn iddo ef wneuthur a threfnu pob peth er ei fwyn ei hun. Ynddo ef, mae anfeidrol hunangarwch yn gallu cydfod âg anfeidrol ddŷn-garwch. Ac od oes rhai dynion na fynnant ei garu ef fel y mae efe yn eu caru hwy, fe gaiff ogoniant gan y rheini. Myn efe ogoniant gan bawb, o'u gwirfodd neu o'u hanfodd. Yn ddiau, cynddaredd dŷn a'i molianna ef, ac y mae cryndod a chyffes cythreuliaid yn ei fawrygu ef.

Myn barch, ac idd ei enw glod,
Oddi wrth bob gweithred sydd yn bod;
Ei fawr ogoniant ddwg i ben
O uffern ac o'r nefoedd wen.

A gwympodd yr angylion? A gwympodd dynion ar eu hôl? Y mae cyngor Duw yn sefyll. A ydyw'r cenedloedd yn terfyscu, a'r bobloedd yn myfyrio peth ofer? A ydyw brenhinoedd y ddaear yn ymosod, a'r pennaethiaid yn ymgynghori ynghyd yn erbyn yr Arglwydd, ac yn erbyn ei Grist ef?—"Yr Arglwydd sy'n diddymmu cyngor y cenedloedd; y mae efe yn diddymmu amcanion pobloedd." "Cyngor yr Arglwydd a saif yn dragywydd."

II. *Cyngor Duw yn feddyliau.* Heb law fod undod yn ei feddyliau ef, y mae hefyd amrywiaeth yn ei gyngor. Cyngor yn ymffurfio yn feddyliau ac yn amcanion yw cyngor yr Arglwydd; ac wrth briodoli iddo feddyliau, mae'r Salmydd yn rhoi ar ddeall fod y Duw digyfnewid y buwyd yn sôn am dano, yn Dduw rhydd hefyd; fod y Duw cadarn yn Dduw ystwyth hefyd. Am ei fod ef yn ystwyth y mae yn medru maddau i ddynion eu pechodau; am ei fod yn rhydd y mae yn medru gwrandaw eu gweddïau. Ni allaf fi egluro, ac ni all neb egluro, pa fodd y dichon i edifeirwch a gweddi dŷn ddylanwadu ar y Duw digyfnewid; neu pa fodd y gall y cyfryw Dduw newid ei ffyrdd tu ag at ddynion heb newid ei feddwl hefyd. Er hynny, rhaid imi gredu ei fod yn ddigyfnewid, a chredu ar yr un pryd ei fod yn rhydd hefyd; canys ni byddai efe yn berffaith heb fod yn ddigyfnewid ac yn rhydd. Pe na bâi yn ddigyfnewid, ni byddai yn well na dŷn; a phe na bâi yn rhydd, byddai yn waelach na dŷn. Yr ŵyf *fi* yn rhydd, er gwaethaf dylanwad fy rhieni arnaf, dylanwad Adda, a dylanwad ei holl rywogaeth. Tybed fod y Creawdr yn gaethach na'i greadur? Ai gefynnau am ei ddwylaw, a llyffetheiriau am ei draed yw ei gyngor a'i ddeddfau ef ei hun? Pe na bâi ei gyngor yn gyngor ei ewyllys; pe bâi ei gyngor yn cyfyngu ar ei ryddid i wneuthur y peth a fynno, fe ddywedai efe wrthynt, fel y dywedodd Islwyn wrth ddeddfau caeth prydyddiaeth Gymreig:

"Ymaith, Reol!
Ffowch, ddeddfau dynol!
Rhowch i hon dragwyddol heol."

Ai annewidioldeb y garreg farw ydyw annewidioldeb yr Arglwydd? Ai cadernid y graig yw ei gadernid? Nage, eithr yn hytrach annewidioldeb y môr y sy'n

dygyfor yn ei wely: y môr sy'n symmud ac heb symmud: y môr sy'n newid ei liw yn ôl gwedd y wybren, ac yn newid ei sŵn yn ol pwys y gwynt. Y mae Duw yn ddigllon beunydd wrth yr annuwiol.—Oni welwch chwi wg ar ei ael? Y mae yn llawen ganddo weled un pechadur yn edifarhau.—Oni welwch chwi wên ar ei enau? Y mae yn anawdd iawn ganddo gefnu ar neb dros byth.—Oni chlywch chwi rhyw grec a chryndod yn ei lais, pan fo yn dywedyd, "Pa fodd y'th roddaf ymaith, Ephraim? y'th roddaf i fyny, Israel? pa fodd y'th wnaf fel Admah, ac y'th osodaf megis Seboim?" Y mae yn wir nad dŷn yw Duw, ac nad teimladau dynol sy'n ei lywodraethu ef; er hynny, pa bethau bynnag sy' ragorol mewn dŷn, y mae rhyw bethau sy'n cyfatteb i'r rhagoriaethau hynny yn Nuw hefyd. Nid wyf fi yn amgyffred ei feddwl—y mae hwnnw mor fawr, ac mor ddwyfol; ond yr ŵyf yn deall rhai o'i feddyliau, am fod yn y rheini ryw gyfattebiaeth, os nad cyffelybiaeth hefyd, i'm meddyliau i fy hun. Y mae Duw yn ymddangos i mi, ac i bawb, yn fwy dynol yn ei feddyliau nag yn ei gyngor. Ond pa ham y rhaid fod yn hoffach gennyf ei feddyliau na'i gyngor? canys nid yw ei gyngor wedi'r cwbl ddim amgen na chyfuniad o'i feddyliau, ac nid yw ei feddyliau ond rhannau o'i gyngor.

Dywedais ychydig funudau yn ôl mai'r dŷn â chanddo un meddwl a meddyliau lawer yw'r dŷn tebyccaf o ran ei allu i Dduw. Y dyn nad oes ganddo lawer o feddyliau, dŷn cul yw; a'r dyn nad oes ganddo un meddwl cyffredinol yn cyfuno ac yn llywodraethu ei holl feddyliau neillduol, dŷn aneffeithiol yw. Er hynny, y mae gwahaniaeth dirfawr rhwng dŷn â chanddo un meddwl cyffredinol a dŷn â chanddo un meddwl neillduol. Nid oes dim yn fwy annifyr ac anfuddiol na bod ynghymdeithas y dŷn y mae'r Saeson yn ei alw yn "ddŷn yr un

*idea.*" Mewn gwirionedd, dynion â chanddynt ond un ide yn eu pen sy'n hanner llenwi'r gwallgofdai. Nod dŷn mawr yw fod ganddo lawer o feddyliau mewn un meddwl; a'r hyn sy'n arwydd o fawredd dŷn sy'n arwydd o fawredd Duw hefyd. Nid un ide—nid un meddwl neillduol sydd ynddo ef, eithr llawer o feddyliau yn ymgyfarfod mewn un meddwl mawr cyffredinol. Y mae yn dda gennyf fi feddwl fod y Duw yr ŵyf yn ceisio 'i bregethu yn Dduw mawr. Mae yn well gennyf fi ymddiried am danaf fy hun i *ddyn* mawr nag i ddŷn bach, ac y mae yn well gennyf ymddiried am danaf fy hun i Dduw mawr nag i Dduw bach. Pa beth bynnag a fo fy rhan yn y byd hwn a'r byd a ddaw, gwn na chaf ddim cam gan y Duw goruchaf—y mae efe yn rhy fawr i wneuthur cam â gŵr yn ei fatter. Gellir ymddiried i'w air ef. Dywedodd efe yn y dyddiau gynt mai meddyliau heddwch, ac nid niwed, yw ei feddyliau ef; a'r hyn a ddywedodd efe unwaith y mae yn ei feddwl o hyd.—"Cyngor yr Arglwydd a saif yn dragywydd; meddyliau ei galon o genedlaeth i genedlaeth."

III. *Meddyliau Duw yn feddyliau ei gàlon.* Nid meddyliau oerion a sychion ydyw ei feddyliau ef, eithr meddyliau cynnes ac iraidd, yn dyfod allan o waelod ei gàlon. Meddyliau càlon *dyn* yw ei feddyliau gorau. Dyma'r unig feddyliau sy'n wlyb gan wlith y nefoedd; yr unig feddyliau sy'n llawn sugn; yr unig feddyliau bythol-wyrdd y mae yn dda gan laweroedd eistedd dan eu cyscod; a'r unig feddyliau sy'n cadw eu harogl o genedlaeth i genedlaeth. Ac y mae y rhain yn wlyb nid yn unig gan wlith oddi uchod, eithr hefyd gan waed oddi isod. Fel y golchodd Iŵda ei wisc mewn gwin, a'i ddillad yngwaed y grawnwin, felly mae'r awenydd (*man of genius*) yn trochi ei feddyliau yngwaed ei gàlon. Meddyliau wedi eu gwlychu à gwaed yw meddyliau

ireiddiaf Duw a dŷn. Meddwl â'i ymmennydd yn unig y mae'r dŷn diawen; ac am hynny, y mae ei feddyliau ef yn ebrwydd yn gwywo ac yn marw; ond meddwl â'i gàlon y mae'r dŷn awenus; ac am hynny, y mae yspryd a bywyd yn ei feddyliau ef. Pa ham y mae agos bob corff o ddiwinyddiaeth, ac esponiad a gwyddoniadur, yn myned mor fuan allan o amser ac allan o gof? Am nad yw llyfrau addyscol a buddiol o'r fath yma ddim yn ffrwyth awen; nac fèlly ddim yn llenyddiaeth, yn ystyr priodol y gair. Pa ham, o'r tu arall, y mae "Y Gododin," "Y Greal," "Y Mabinogion," "Llyfr y Tri Aderyn," "Gweledigaethau'r Bardd Cwsc," a "Drych y Prif Oesoedd" yn parhau i gadw'r blaen yn llenoriaeth Cymru? Am eu bod hwy, er gwaethaf eu diffygion, yn ffrwyth awen; a'r gàlon yw mangre'r awen. Awen, ac nid gallu dealltwriaethol; dawn, ac nid dysc, sy'n cadw llyfrau'n fyw, ac yn eu gwneuthur yn rhan o lenoriaeth gwlad. Meddyliau'r gàlon, ac nid meddyliau'r pen, a saif o genedlaeth i genedlaeth.

Holl weithredoedd a gweithrediadau mawr dŷn, â'r gàlon y mae efe yn eu gwneuthur. A'r gàlon y credir i gyfiawnder, â'r gàlon yr ydys yn caru, ac â'r gàlon yr ydys yn gobeithio. A'i gàlon y mae dŷn yn deall yn drwyadl; â'i gàlon y mae yn myfyrio yn ddwys, ac â'i gàlon y mae yn cofio orau.—"Mair," eb yr efengylwr, "a gadwodd y geiriau hyn yn ei chàlon"; ac wrth eu cadw yn ei chàlon, fe'u cadwodd byth. Heb law hynny, â'r gàlon y mae dŷn yn dychmygu'r pethau rhyfeddaf, ac yn dyfeisio'r pethau hynottaf. Trwy un weithred lawn o farddoniaeth, fe wnaeth Mair o Bethania ei henw ei hun mor gyhoeddus ac mor anfarwol ag efengyl ei Harglwydd.—"Yn wir, meddaf i chwi," eb yr Iesu, "pa le bynnag y pregether yr efengyl hon yn yr holl fyd, yr hyn a wnaeth hon hefyd a adroddir er coffa am dani." A pha beth a wnaeth hi? Eneinio traed yr Iesu âg

enaint gwerthfawr, a'u sychu â gwallt ei phen. Pa le y cafodd hi'r meddwl i wneyd hynny? Yn ei chàlon. Fe ddarfu i ryw wraig arall o bechadures ragori ar Mair; canys golchodd honno draed yr Iesu â'i dagrau. Pa ham y gwnaeth hi hynny? Am ei bod yn caru yn fawr. Ei chàlon a ddywedodd wrthi pa le y câi hi ddwfr i gyflawni diffyg caredigrwydd gŵr y ty.

Gyfeillion, meddyliau a darddodd o'i gàlon yw holl feddyliau Duw. Pa le y meddyliodd e feddyliau heddwch tuag attom? Yn ei gàlon. A pha beth y cofiodd e ni yn ein hisel-radd? A'i gàlon. O ba le yr ymgododd yr anfeidrol ddyfais o brynedigaeth dŷn? O wraidd càlon Duw. Pa ham y torrodd e'r blwch gwyn alabastr ar fryn Calfaria, nes llenwi nef a daear âg arogl peraidd? I ba beth y bu'r golled hon? Pa ham y bu'r marw hwn? Colled, yn wir! a glywsoch chwi sôn am gariad heb golled? A welsoch chwi rywun yn caru hyd yr eithaf heb garu hyd farw? Onid oedd raid i Grist ddioddef, ac yntau yn caru? Onid oedd raid i'r Tad ei ddryllio ef? Rhaid cariad ydoedd hwn; canys ni all cariad wneyd digon heb wneyd mwy na digon. Gwneyd cymmaint ag a ellir, ac nid gwneyd cymmaint ag sy ddigonol, yw ei reol ef. A oedd modd i Dduw ein hachub heb aberthu ei Fab ei hun? Ni wn i, ac ni ŵyr neb arall chwaith; er fod rhai dynion yn cymmeryd arnynt wybod; eithr gwn hyn: sef nad oedd modd i Dduw ddangos ei fod yn caru yn fawr, heb wneuthur cymmaint ag a wnaeth. Y mae rhyw farddoniaeth ddwyfol ym meddyliau yr Arglwydd y sy'n eu dyrchafu uwch law meddyliau prosaidd, cyffredin, ac yn eu gwneyd yn annirnadwy i ddynion crintach ac anianol fel Suddas Iscariot a Simon y gwahanglwyfus.

Rhaid i ddŷn wrth galon fawr i ddeall ac i brisio meddyliau càlon Duw. Rhaid fod gan y Salmydd gàlon fawr pan y gallodd e ddywedyd, "Mor werthfawr yw dy

feddyliau gennyf, ô Dduw!" Gyfeillion, a ydynt yn werthfawr gennych chwi? Dylent fod yn ddiau; canys meddyliau wedi ymsefydlu arnoch chwi ydynt. A oes arnoch ofn y cyngor bore, a'r arfaeth dragywyddol? Ni raid fod arnoch ddim; meddyliau càlon Duw ydynt: meddyliau sy'n ymferwi gan gariad tuag at bechadur: meddyliau wedi eu mwydo a'u meddalu yngwaed y gàlon fawr a ymdorrodd ar Galfaria.

Tybed, meddwch, nad yw Duw wedi cyfnewid er pan gynlluniodd e'i drefn, ac y rhoddes e'i Fab? Nac ydyw ddim; cyngor hedd yw ei gyngor ef etto; meddyliau heddwch a fydd ei feddyliau ef byth.—"Cyngor yr Arglwydd a saif yn dragywydd; meddyliau ei gàlon o genedlaeth i genedlaeth."

## II.

## "PAN OEDD ABRAM ONID UN MLWYDD CANT."

"*A phan oedd Abram onid un mlwydd cant, yr ymddangosodd yr Arglwydd i Abram, ac a ddywedodd wrtho, Myfi yw DUW hollalluog; rhodia ger fy mron i; a bydd berffaith.*"—GENESIS xvii. 1.

PE na buasai'r hanesydd ysprydoledig wedi hyspysu yn niwedd y drydedd bennod ar ddeg mai ym Mamre ger llaw Hebron, yr oedd Abram yn trigo ar hyn o bryd, y mae yn ddiau y buasai yn wiw ganddo ddywedyd yn yr adnod hon nid yn unig ym mha flwyddyn yr ymddangosodd Duw i Abram, eithr hefyd ym mha fan yr ymddangosodd iddo; canys y mae gwaith Duw yn ymddangos i ddŷn, ac yn llefaru wrtho, yn ffaith mor bwysig fel y mae hi yn gosod hynodrwydd ar yr amser ac ar y lle yr un ffunud. Y mae yn hawdd i bob dŷn a gafodd weledigaeth nefol anghofio pob peth amgylchiadol oddi gerth y pa le a'r pa bryd. Yn ei olwg ef, y mae'r tir yr oedd yn sefyll arno wedi myned yn ddaear santaidd, a'r flwyddyn yr oedd yn byw ynddi wedi myned yn flwyddyn gyssegredig. "Duw hollalluog a ymddangosodd i mi," ebr Iago ar ei wely angau; ond y mae efe yn cofio mwy na'r ymddangosiad ei hun: "Duw hollalluog a ymddangosodd i mi yn Luz, yngwlad Canaan." "Yn yr amser y daeth Tartan i Asdod (pan ddanfonodd Sargon, brenin Assyria ef), ac yr ymladdodd efe yn erbyn Asdod, yr amser hwnnw y bu gair yr

Arglwydd wrth Esay, fab Amos." Ac eb yr un proffwyd mewn man arall: "Yn y flwyddyn y bu farw'r brenin Uzzia y gwelais hefyd yr Arglwydd ar eisteddfa uchel a dyrchafedig, a'i odre yn llenwi'r deml." Ebr Apostol y Cenedloedd am dano'i hun: "Mi a adwaenwn ddŷn yNghrist er ys rhagor i bedair blynedd ar ddeg, a gipiwyd i fyny i baradwys, pa un ai yn y corff neu allan o'r corff ni wn i, eithr gwn y flwyddyn yn dda ddigon; ïe, yr ŵyf yn cofio'r awr a'r fangre lle y cefais y weledigaeth gyntaf erioed; A myfi yn nesàu at Damascus, ar hanner dydd, ô frenin, ar y ffordd, y gwelais oleuni o'r nef, mwy na discleirdeb yr haul, yn discleirio o'm hamgylch. Am y flwyddyn—am yr amser yn unig y mae awdur hanes Abram yn crybwyll yn y testyn; ond mewn man arall, mae yn manylu ynghylch y llannerch hefyd; a phe casclech yr holl fanylion ynghyd i'r un adnod, fel hyn y byddai hi: "Pan oedd Abram yn gant namyn un mlwydd, ac efe yn trigo yn y llwyn derw o flaen Mamre, ger llaw Caer-arba, honno yw Hebron, yngwlad Canaan, yr ymddangosodd yr Arglwydd i Abram, ac a lefarodd wrtho." Yr oedd yn hawdd i Abram gofio'r ymddangosiad a'r dadguddiad hwn; o blegid ychydig weithiau yr oedd Duw wedi ymddangos iddo a llefaru wrtho cyn hyn; ac yr oedd pedair blynedd ar ddeg wedi myned heibio er pan wnaethai efe hynny ddiweddaf. Yn ystod yr holl flynyddoedd hyn, ni siaradodd Duw un gair âg Abram; a hynny o achos ei fod wedi digio wrtho am iddo gymmeryd ei hudo gan Sara, ei wraig briodol, i gymeryd ei llawforwyn yn wraig orderch iddo, er mwyn prysuro mewn ffordd ddynol yr hyn a addawsai Duw iddo lawer blwyddyn yn ôl. Bellach y mae Duw yn dyfod allan o'i ymguddfa, ac yn torri ar yr hir ddistawrwydd gan ddywedyd mewn effaith: Ai meddwl yr ydwyt na elli gael mab o Sara, dy wraig briod? A fydd dim yn anhawdd i'r

Arglwydd? Myfi yw Duw hollalluog; rhodia ger fy mron i, a bydd berffaith. Gofala di am gyflawni dy ddyledswydd tu ag attaf fi, a gofalaf finnau am gyflawni fy addewid i tithau. Wedi ail ddechrau siarad gwnaeth Duw ac Abram gyfammod â'u gilydd, yr hwn gyfammod a gadarnhawyd trwy ddefod yr enwaediad. O hyn allan bu Abram byw yn berffeithiach, heb wyro ond unwaith neu ddwy oddi ar lwybr uniondeb, ac o blegid hyny ymwelodd Duw âg ef yn fwy mynych, gan ei alw a'i wneuthur yn gyfaill iddo. Ym Mamre, ac nid yn Haran na Sichem na Bethel, yr aeth Duw ac Abram yn gyfeillion; ac am hyny El Khalîl, sef y Cyfaill, yr ydys yn galw'r lle hwnnw hyd y dydd hwn.

"Yr Arglwydd a ymddangosodd i Abram, ac a ddywedodd wrtho." I bob enaid a'r sy'n ewyllysio gweled yr anweledig a chlywed pethau annhraethadwy, Duw yn ymddangos, a Duw yn llefaru, yw'n Duw ni erióed. Gan ei fod yn hollalluog, fe all efe ymguddio, ond y mae yn well ganddo lefaru. Y mae rhai ym mhob oes yn taeru na all Duw nac ymddangos na llefaru; ond os na all wneyd hyn, nid yw yn hollalluog; ac os os nad yw yn hollalluog nid yw yn Dduw o gwbl. Nid oes iddo gorff, mae'n wir; ond ai annichon i'r hwn a wnaeth y corff ymddangos? Nid oes iddo enau; ond ai annichon i'r hwn a wnaeth y genau lefaru? Peidio â bod yr hyn ydyw, a pheidio â bod o gwbl, yw'r unig ddau beth na ddichon yr Hollalluog mo'u gwneuthur. Ni allaf fi garu nac ofni Duw nad yw byth yn ymddangos. Nid oes gennyf fi ddim i'w ddywedyd wrth Dduw nad oes ganddo ef ddim i'w ddywedyd wrthyf fi. Pa beth yw natur amgen na Duw yn ymddangos? Pa beth yw dadguddiad ond Duw yn llefaru *wrthym?* Pa beth yw cydwybod ond Duw yn llefaru *ynom?* I Abram a'r patriarchiaid, yr oedd y greadigaeth yn hytrach yn dangos

nag yn cuddio'r Creawdr. Nid oedd wyneb glas y ddaear ac wyneb glas y nen ond llen denau, dyllog, ar wyneb y Duw mawr a oedd yn edrych trwyddi o'r tu ol. Glesni i liniaru gwyndra tanbaid y wyneb, ac nid i guddio'r wyneb ei hun, oedd y glesni hwn. Yr un ffunud, pan y byddai Duw yn *llefaru* wrth y patriarchiaid, ni raid ini gredu y byddai efe bob amser yn llefaru wrthynt yn uchel ac oddi allan. Meddyliau dyfnion a dwyfol yr enaid oedd yn ymgodi i'r wyneb, ac yn ymdroi yn eiriau ar eu tafodau hwy eu hunain. Sisial pell yr Anfeidrol oedd yn ymdroi yn llais wrth ymdaraw yn erbyn parwydydd y gydwybod.—"Yr Arglwydd a lefarodd wrth Abram"; "Daeth gair yr Arglwydd at Abram"; "Fel hyn y dywed yr Arglwydd"; ond nid o'r fan yma neu'r fan accw, eithr *yn* y fan yma. Lle yr ydys yn dywedyd ddyfod angel at y patriarch hwn a'r patriarch arall, hwyrach nad ŷm i feddwl bob amser mai cennad ysprydol oedd yr angel hwnnw; canys weithiau yr ydys yn galw cennad o ddŷn hefyd yn angel. Os ŵyf fi heddyw yn traethu rhyw wirionedd a fydd yn adseinio yn eich cydwybod chwi, yna yr ŵyf yn angel Duw attoch, pa mor annhebyg bynnag i angel ydwyf o ran golwg a chymmeriad. Yn wir, yr ydys yn galw Moesen nid yn unig yn angel at Ffaro, eithr hefyd yn Dduw i Ffaro, am ei fod yn cynnrychioli Duw, ac wedi derbyn ei genadwri yn uniongyrchol oddi gan Dduw. Ac nid Moesen yw'r unig ddŷn a fu yn Dduw i bechadur: bu ambell bregethwr, ambell flaenor, ambell athraw, ac ambell ymwelyddes, yn Dduw i ryw bechadur; am eu bod yn gennadon dros Dduw. Gwelodd llawer wyneb Duw yn wyneb Henry Rees, a bys Duw yn mys John Elias; ac nid peth cableddus oedd i lawer lefain wrth glywed lleferydd Daniel Rowland, "Lleferydd Duw ydyw ac nid dŷn." Y mae Duw o hyd yn ymddangos i ddŷn mewn dŷn arall, ac yn llefaru wrth ddŷn trwy ddŷn arall; ïe, y

mae efe yn llefaru *mewn* dŷn, trwy ddylanwadu yn ddigyffrwng ar ei yspryd ef; a phan fo Duw yn llefaru ynddo, mae yn briodol dywedyd ei fod yn llefaru wrtho. Yn wir, y mae yn anawdd gennyf fi feddwl nad yw Duw yn llefaru etto wrthym ni mor wirioneddol ag y llefarodd efe wrth Abram. Os nad ŷm ni yn ei glywed cystal, y mae hynny am ein bod ni yn fwy hwyrdrwm ein clustiau, ac nid am fod llais yr Arglwydd wedi ymwanhau. Rhaid addef fod bywyd yr hên batriarchiaid yn gyfryw ag yr oedd yn haws iddynt hwy glywed Duw na nyni; canys bywyd tawel, hamddenol, a naturiol oedd eu bywyd hwy; a hynny ydyw un achos pa ham yr ymgododd holl grefyddau mawr y byd yn y Dwyrain ac nid yn y Gorllewin. Braidd y gallem ddychmygu am un proffwyd na sylfaenydd crefydd yn ymgodi mewn gwledydd fel Lloegr a'r Taleithiau Unedig, neu mewn un ddinas newydd fel Johannesburg. Ynddynt hwy, mae'r trigolion yn byw bywyd rhy aflonydd, rhy anfarddonol, a rhy annaturiol i weled gweledigaethau ac i dderbyn datguddiadau. Mae sŵn cras y bywyd cyffredin yr ydys yn ei alw yn fywyd gwareiddiedig yn boddi seiniau isel, tyner, y byd ysprydol. Gellir profi nerthoedd y byd a ddaw, sef ei wynt a'i daranau, ynghanol Llundain; ond yn Horeb, mynydd Duw, ynghanol yr anghyfanedd-dra tawel, y gellir clywed ei lef ddistaw fain. Er fod Abram yn berchen gweision ac anifeiliaid lawer—yn bennaeth llwyth, yn wir; ac er fod rhai digwyddiadau cyffrous yn ei hanes, etto, bywyd myfyrgar a thawel, ar y cyfan, ydoedd ei fywyd ef; ac yr oedd y bywyd hwnnw yn ei alluogi i glywed Duw, pa bryd bynnag y byddai Duw yn llefaru wrtho. Ac yr oedd efe yn clywed Duw yn well na'r cyffredin, am ei fod fel Enoch yn rhodio gyd â Duw, ac felly yn sefyll ynghyrraedd ei lais. Mae'r Arglwydd yn rhy urddasol i grochlefain ar ddynion; ei arfer, yn hytrach, yw siarad megis dan ei

lais; am hynny, os mynnant ei glywed ef, rhaid iddynt ymgadw yn agos atto.

Ond er fod Duw yn gyffredin yn llefaru wrth ddŷn trwy lefaru ynddo, neu ynte lefaru wrtho trwy ddŷn arall, etto, mae yn ddiammau fod ambell angel a ddanfonai efe at ddynion yn greadur uwch na chennad o ddŷn: ei fod yn angel yn yr ystyr cyffredin yr ŷm ni yn ei roddi i'r gair angel; ond angel yn null dŷn a fyddai hwnnw hefyd. Cyn dyfod y dŷn Crist Iesu ni allai Duw ymgnawdoli. Ni ellid ei gael ef mewn dull fel dŷn. Mewn angel y byddai efe yn ymgorffoli, a'r angel hwnnw, ac nid efe ei hun, a fyddai yn ymddangos ynghyffelybiaeth dŷn. Nid ymgnawdoliad mo hyn, ond yr oedd yn rhagarwyddo yr ymgnawdoliad, ac yn fath o ymestyniad atto. Ond byddai Duw yn ymddangos weithiau mewn rhyw angel mwy nag angel cyffredin; mewn angel mwy hwyrach na Gabriel, yr hwn sy'n sefyll ger bron Duw; mwy hwyrach na Michael yr archangel; sef angel yr Arglwydd, angel ei gynnrychioldeb ef, angel ei wynepryd, angel y cyfammod. Os nad Mab Duw ei hun yn ffurf angel oedd yr angel hwn, nesaf peth a wnaf fi ar ôl edrych ar y dŷn Crist Iesu, os byth y caf ei weled, a fydd bwrw trem ddiolchgar ar yr angel rhagorol hwnnw a fu yn gyfrwng cymmundeb rhwng Duw a dynion o amser yr Adda cyntaf hyd amser yr Adda diweddaf. Onid dyma'r angel y dywedodd Nebuchodonosor ei fod yn debyg i Fab Duw?

Pa ham nad yw Duw yn ymddangos yn y dyddiau hyn mewn ffyrdd mor anghyffredin ag yr ymddangosai yn y dyddiau gynt? Nid am fod yn annichon iddo ymddangos felly mwy; canys y mae efe yn hollalluog, eithr am nad yw ymddangos o hono felly mor angenrheidiol i ni, ar ôl iddo ymgnawdoli yn ei Fab. Pa gadarnhad i'n ffydd ni a fyddai gweled Duw yn ymgnawdoli yn ammherffaith trwy gyfrwng angel, a ninnau yn credu ac yn

gwybod ei fod wedi ymgnawdoli yn berffaith ac yn ddigyfrwng yn y *dyn* Crist Iesu? Gall yr un dŷn hwnnw yn y nef wneuthur mwy i ni nag a all deuddeg lleng o angylion ar y ddaear. Diolchwn i Dduw am iddo yn awr ac eilwaith gymmeryd naturiaeth angylion, er mwyn gallu discyn a dyfod yn agos at ddynion; ond diolchwn iddo yn fwy o lawer am iddo unwaith gymmeryd natur dŷn er mwyn gallu trigo gyd â hwynt. Gwnaeth Duw ymdrechiadau gorchestol i ymgnawdoli dan yr Hên Oruchwyliaeth; ond er eu bod yn orchestol, ymdrechiadau oeddynt ar y gorau. Pan y daeth cyflawnder yr amser yr aeth yr hir ymdrech yn gyflawniad. Y pryd hwnnw, gallodd Mab Duw ddywedyd wrth ei Dad, "Corff a gymhwysaist i mi—nid cyffelybiaeth corff, eithr corff gwirioneddol a ddarperaist i mi. Yna y dywedais, Wele fi yn dyfod i wneuthur dy ewyllys di, ô Dduw." Pan y darparwyd iddo gorff dynol y gallodd efe wneuthur yn llawn ewyllys ei Dad tu ag at ddŷn. Gan ddyfod, fe ddaeth y Mab hwn, ac fe aeth ymaith; ond ni adawodd Duw ei hun yn ddidyst ar y ddaear; canys pan esgynnodd Mab y dŷn i'r nef, discynnodd yr Yspryd Glân *o'r* nef. Pa beth bynnag a ddywed rhai o honoch am ddrygioni'r ddaear, y mae mwy o'r Yspryd arni nag a fu eriôed o'r blaen. Y mae ei dyfroedd yn gynhyrfus ddigon; ond y mae Yspryd Duw yn ymsymmud ar y dyfroedd hynny, ac am hynny daw trefn allan o'r tryblith yn y man. Pa mor anlanol bynnag ydym ein hunain, mae Yspryd yr Arglwydd yn ein hamgylchynu. Yr ŷm yn byw ynghanol nerthoedd y byd a ddaw; a dyma'r nerthoedd y mae Duw bellach yn ymddangos ynddynt ac yn llefaru trwyddynt. A welsom ni ei wedd ef wrth olau mellt y byd a ddaw? A glywsom ni ei lais ef yn nharanau croch, yngwyntoedd cryfion, neu yn awelon mwynion y byd hwnnw? Os nad ymddangsodd efe i ni mor amlwg ag yr ymddangosodd i rai, oni theimlas-

om lawer gwaith ei fod yn agos iawn attom, ac nad oedd ond gwàl cydwybod rhyngom ac ef? Fe'i clywsom ganwaith yn dywedyd ynghanol ein cydwybod gymmaint ag a ddywedodd efe wrth Abram, "Myfi yw Duw hollalluog; rhodia ger fy mron i, a bydd berffaith." Rhyngom ni ac Abram, ac nid rhwng ein Duw ni a Duw Abram, y mae'r gwahaniaeth. Dywedodd Duw yr un peth yn union wrthym ni ag a ddywedodd efe wrth Abram; ond ni *wnaethom* ni yr un peth ag a wnaeth Abram. Credodd Abram i Dduw yn ei dystiolaeth am dano'i hun; ufuddhaodd Abram i Dduw yn ei orchmynion i ddŷn.

Y mae geiriau Duw wrth Abram yn cynnwys tri pheth, sef gorchymmyn, a chyfarwyddyd, a chymhelliad. "Bydd berffaith" yw'r gorchymmyn. "Rhodia ger fy mron i" yw'r cyfarwyddyd, a "Myfi yw Duw hollalluog" yw'r cymhelliad.

1. *Y Gorchymmyn.* Y mae bod yn berffaith yn cynnwys holl ddyledswydd dŷn tu ag at Dduw, tu ag atto'i hun, tu ag at ei gymmydog, tu ag at anifeiliaid, tu ag at lysiau, a thu ag at bob peth a greodd Duw. Dau orchymmyn mawr sydd yn y gyfraith; ond os mynnwn fod yn berffaith—yn wŷr boneddig o ddynion, rhaid i ni gadw gorchymmyn arall llai, sef y gorchymyn y sydd yn y Bibl i garu natur, â'r cyfryw gariad ag a'n hattalio rhag gwneyd niwed diachos i ddim a greodd y Brenin mawr. Yr ŵyf yn credu mai at y cariad hwn y cyfeiriodd Coleridge wrth ganu fel hyn:

"He prayeth well, who loveth well
  Both man, and bird, and beast.
He prayeth best, who loveth best
  All things both great and small;
For the dear God who loveth us,
He made and loveth all."

Y dŷn mwyaf cyffredinol ei gariad yw'r dŷn perffeithiaf; am fod hwnnw yn ymdebygu i'w Dad nefol, yr hwn sy'n peri i'w haul godi ac i'w wlaw ddiscyn ar y duwiol ac ar yr annuwiol; ar y rhosyn yn Nyffryn Saron ac ar yr yscellyn yn Libanus. Ni wn i ddim pa ham y creodd y Goruchaf gynnifer o greaduriaid mawr a mân, os nad am ei fod yn ewyllysio rhoi llawn hwyl i'w gariad, ei ddaioni a'i anfeidrol ofal. Os mynnwn fod yn blant iddo ef, ymrown i garu pawb y mae yn wiw ganddo ef ofalu am dano. Wrth amlhau gwrthrychau'n serch, â'n càlon fach yn gàlon fawr; ac y mae cymmaint o raid ini wrth gàlon fawr ag wrth gàlon bur, os mynnwn fod yn berffaith ddedwydd; canys heb gàlon fawr, ni chynnwyswn ddim llawer o Dduw nac o nefoedd Duw. Os mynnwch fesur perffeithrwydd Abram, mesurwch ei gàlon. Mae yn ddiammau gennyf na roisoch eriôed mo'ch llinyn ar gàlon fwy na'i gàlon ef a chàlon Moesen. Er fod arni scraffiniaid, yma ac yna ac accw, ni welwch un pant na tholc ynddi. Rhaid fod perchennog y fath gàlon a hon nid yn unig yn ŵr duwiol, ond hefyd yn ŵr boneddig o'i goryn i'w sawdl. Ys gwir ddyfod arno deirgwaith chwiw o lyfrdra; ac yn y llyfrdra hwnnw fe ddywedodd gelwydd ddwywaith; ond rhyw hanner celwydd oedd hwnnw, na buasai yn wiw gan nemmor o Gymry sychu eu genau ar ôl ei ddywedyd. Y mae rhagor rhwng celwydd a chelwydd mewn gwrthuni; ac y mae yn haws maddau i ddŷn a ddywedo gelwydd i amddiffyn ei hun nag i'r dŷn a ddywedo gelwydd i ddrygu rhywun arall. Ni welwch ddim malais a baweidd-dra hyd yn oed ym mân gelwyddau Abram. Ni wnaeth eriôed dro gwael a neb. Ystyriwch gymmaint a ildiodd efe i un ieuangach nag ef ei hun er mwyn gwneyd diben buan ar y gynnen a godasai rhwng ei fugeiliaid a bugeiliaid Lot. Ystyriwch ei fawredigrwydd

yn gwrthod gwobr gan frenin Sodom. Gwrandewch arno yn eiriol dros y ddinas honno er mwyn yr ychydig o rai cyfiawn yr oedd efe yn tybied a oedd yn byw ynddi. Sylwch mor foesgar ac anrhydeddus y mae yn bargeinio â meibion Heth am dir i gladdu ei wraig Sara. Pa bennaeth mawr arall, cyfartal ei allu âg ef, a fuasai yn cydnabod hawl a braint rhyw bennaeth bach fel Ephron? Ni fynnai Abram gymmeryd dernyn o faes hyd yn oed gan hwn, heb dalu am dano ei lawn werth o arian—"pedwar can' sicl cymmeradwy ym mhlith marchnadwyr." Yn wir, y mae siarad am y fath ddŷn ag Abram yn peri lles i'm hyspryd; a gobeithio fod gwrando am dano yn peri lles i chwithau. Y mae'r dŷn culaf ei enaid yn ymeangu tippyn, a'r dŷn mwyaf difoes yn ymloewi, wrth ymrwbio â boneddigion mawr yr Hên Destament. Y mae yn fuddiol iawn i bobl ieuaingc ddarllen "*Bucheddau Plutarch*," sef Hanes Bywyd Goreugwyr y Groegiaid a'r Rhufeiniaid"; am fod llawer o'r hên baganiaid hynny yn rhagori yn ddirfawr yn eu hyspryd, eu syniadau a'u gweithredoedd, ar y rhan fwyaf o Gristionogion y dyddiau hyn; ond ni cheir yn llyfr Plutarch o ben bwy gilydd un dŷn y gellid ei osod ar yr un gwastad ag Abram. Y mae hwn yn fwy mawrfrydig, yn fwy pendefigaidd, ac yn fwy anhunangar na neb a fu yn y byd eriôed oddigerth Moesen a Iesu Grist. "Bydded ynoch," medd yr apostol, "y meddwl yma, yr hwn oedd hefyd yn Nghrist Iesu." A pha beth ydoedd y meddwl yma? Hwn: "Nac edrychwch bob un ar yr eïddoch eich hunain, eithr pob un ar yr eiddo eraill hefyd." Yn awr, yr oedd Abram wedi gwneuthur y cyngor hwn ddwy fil o flynyddoedd cyn ei roddi. Yr oedd efe mewn gwirionedd yn Gristion cyn cyhoeddi Cristionogaeth; canys y meddwl yma, sef meddwl ymwadol, ymaberthol, yw'r meddwl arbenniccaf a'r sy'n perthyn i Gristionogaeth. Os nad yw'r meddwl yma

ynom, nid Cristionogion ydym yngolwg Duw. Er cymmaint sydd o bregethu, o ddarllen, ac o weddïo, mae'r meddwl yma eriôed yn brin yn y byd; am hynny y dywedodd yr apostol yn yr un bennod am Timotheus, wrth scrifennu at y Philipiaid, "Nid oes gennyf neb o gyffelyb feddwl, yr hwn a wir ofala am y pethau a berthyn i chwi; canys pawb sy'n ceisio yr eiddynt eu hunain, nid yr eiddo Crist Iesu." Ie, dyma fi yn awr wedi cyffwrdd âg ochr arall, sef âg ochr ddwyfol crefydd; canys nid yw ddigon ini fod yn anhunangar trwy edrych ar yr eiddo eraill, sef ar yr eiddo dynion eraill; rhaid ini fod yn anhunangar trwy edrych ar yr eiddo Duw hefyd; neu yn iaith y Testament Newydd, trwy geisio'r eiddo Crist Iesu. Yn awr, yr oedd Abram yn gofalu am yr ochr ddwyfol i grefydd yn gystal a'r ochr ddynol. Yr oedd efe nid yn unig yn ddyngar, eithr hefyd yn dduwiolfrydig; ac am fod ei grefydd mor gyfan yr oedd hi mor agos i fod yn berffaith. Byw ar Dduw, byw yn Nuw, a byw i Dduw yr ydoedd Abram dros ei holl ymdaith o dŷ ei dad hyd i dŷ ei hir gartref. Ceisio gwlad well yr ydoedd wrth gerdded tu a'r wlad dda. Pererin oedd wrth ymdeithio, a phererin oedd wrth orphwyso. Dŷn dieithr oedd efe ynghanol ei gymmydogion, ac nid oedd iddo ar y ddaear gyfaill mor agos a Duw. Gan iddo wneyd cyfaill o Dduw, gwnaeth Duw gyfaill o hono yntau. Nid oedd gywilyddus ganddo gydrodianna a chwedleua âg Abram. Byddai yn fuddiol i bawb o honom wneyd cyfaill o ŵr a alwyd yn gyfaill Duw.

Ond er fod Abram yn ŵr gwych odiaeth, nid oedd yn berffaith; am hynny nid ofer oedd i Dduw ddywedyd wrtho yntau, "Bydd berffaith." Y mae fod Duw yn rhoddi i ddŷn y fath orchymmyn a hwn yn arwyddo fod dŷn yn greadur urddasol iawn. Ac y mae mor angenrheidiol iddo ymdeimlo â'i urddas ag ymdeimlo â'i drueni. Creodd Duw ddŷn yn uniawn, ac fe'i creodd yn

uniawn, fel y byddai rywbryd yn santaidd, yn berffaith. Fe'i gwnaethpwyd ychydig is na'r angylion, ond fe'i bwriadwyd i fod yn gydstad â'r angylion. Wrth feddwl am yr hyn ydwyt, meddwl hefyd am yr hyn a fuost, ac am yr hyn a elli fod ar ol hyn. Pobl anfoesgar yw y rhan fwyaf o drigolion Taleithiau Unedig yr Americ, ond yr ydys yn dywedyd y byddai'r Llywydd Garfield yn dynoethi ac yn crymmu ei ben hyd yn oed i fân Arabiaid yr heolydd; a phan ofynnodd rhywun iddo pa ham yr oedd efe yn tynnu ei het i ryw fachgennyn mwy distadl na'r cyffredin, attebodd yntau, "Am y dichon i hwn yna fod rywbryd yn Benllywydd y Taleithiau Unedig." O, y mae dŷn, er ised y syrthiodd trwy bechod, yn uchel ei fonedd, yn fawr ei allu, ei ddymuniadau, a'i ddisgwyliadau. Y *mae* yn fach, am ei fod yn ammherffaith; ond y mae yn fawr hefyd, am fod yn bosibl iddo fod rywbryd yn berffaith. Y *mae'r* gorchymmyn i fod yn berffaith yn orchymmyn trwm; yn wir, y mae yn fy llethu ar amserau; er hynny, da gennyf ddarfod i Dduw ei roddi, am ei fod yn awgrymmu y gallaf, trwy nerth yr Hollalluog, *fod* yn berffaith—yn berffaith fel y mae fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd yn berffaith. Teimlaswn i y buasai Duw yn sarhau fy natur ac yn siommi fy ngobeithion pe rhoesai orchymmyn yscafnach. Y mae arnaf eisiau bod yn berffaith santaidd, am fod arnaf eisiau bod yn berffaith ddedwydd. Nid ydwyf yn hanner perffaith, ac y mae arnaf ofn na byddaf yn berffaith; ond yr ŵyf yn credu y cerddaf ym mhellach wrth gyrchu at y nod uchaf nag wrth gyrchu at nod is—wrth geisio ymdebygu i Dduw a Christ nag wrth ymdebygu i ddynion sydd ychydig yn well na myfi fy hun. Y gorchymmyn i fod yn berffaith yw gorchymmyn uchaf yr Hên Destament, a hwn yw gorchymmyn uchaf y Testament Newydd hefyd. Ni buasai yn weddus i Dduw roddi gorchymmyn llai, nac yn weddus i

ddŷn ymfoddloni ar wneuthur gorchymmyn llai. Yr ŵyf yn credu mai ceisio bod yn gadwedig yn lle ceisio bod yn berffaith; mai ceisio maddeuant am bechod yn lle ceisio ymadael oddi wrth bechod; mai ymdroi gyd âg edifeirwch a ffydd yn lle myned rhagddynt at gariad; mai edrych yn fwy ar y dechrau nag ar y diwedd, yw cyfeiliornad mawr llaweroedd o Gristionogion y dyddiau hyn; ac y mae hwn yn gyfeiliornad mor beryglus ag unrhyw un o gyfeiliornadau Eglwys Rhufain. Y mae yn wir y dylai dŷn waeddi unwaith yn ei oes, "Pa beth a wnaf fel y byddwyf gadwedig?" Ond y gofyniad, "Pa beth a fynni di i mi ei wneuthur?" neu "Pa beth a wnaf i fod yn berffaith?" a ddylai fod yn ein genau yn wastadol. Nid oes gan Dduw fawr o gariad ar y bobl hunangar y sy'n meddwl mwy am eu diogelwch eu hunain nag am ei ogoniant ef.

II. *Y Cyfarwyddyd*, sef y ffordd i fod yn berffaith.—'Rhodia ger fy mron i." Y mae rhodio ger bron Duw yn cynnwys ein bod yn credu â'r gàlon fod Duw yn agos attom, a'i fod ef yn ein gweled ni, er nad ŷm ni yn ei weled ef. Rhyw ddirgel gredu y mae'r cyffredin fod Duw yn bell, bell, uwch law'r cymmylau a'r ser; am hynny dywedyd y maent yn eu càlon, "Onid yw Duw yn uchelder y nefoedd, Pa fodd y gŵyr efe? A farn efe trwy y tywyllwch dudew? Y tew gymmylau sydd orchudd iddo, fel na ddichon efe weled; ac y mae efe yn rhodio ar gylch y nef." Gan fod Duw yn wahanol i'r greadigaeth, gellir dywedyd ei fod mewn rhyw ystyr uwch law'r greadigaeth; ond mewn ystyr arall, mae efe ynddi a thrwyddi, a hithau ynddo yntau. Mae efe, yn wir, yn y nef mewn modd nad yw ar y ddaear, ac ar y ddaear mewn modd nad yw yn uffern; mae yn y duwiol mewn modd nad yw yn yr annuwiol, a'r duwiol ynddo yntau mewn modd nad yw'r annuwiol ddim

ynddo. Er hynny, y mae mewn rhyw fodd ym mhawb ac ym mhob peth, a phawb a phob peth mewn rhyw fodd ynddo yntau. Fel y mae'r awyr ynom ni, a ninnau yn yr awyr, felly y mae Duw ynom, a ninnau yn Nuw. Y mae Duw yn cynnwys yr holl greadigaeth, er nad yw'r holl greadigaeth ddim yn ei gynnwys ef. Os yw'r Bibl yn dywedyd ei fod yn eistedd goruwch y ddaear a goruwch yr holl nefoedd, yr ydys yn dywedyd hynny er mwyn dangos ei fod mewn lle y gall efe weled pawb a phoppeth—"O breswyl ei drigfa yr edrych ėfe ar holl drigolion y ddaear." Fel y mae holl Ddyffryn Clwyd yn nofio yn llygaid y dŷn a edrycho arno oddi ar ben Moel y Fammau, felly mae'r holl greadigaeth yn nofio yn llygaid Duw. Dodwch Dduw yma neu accw, y mae efe yn hollwybodol. Gwthiwch ef draw, draw, fry, fry, mor bell ag y mynnoch, y mae efe yn gweled oddi yno. "Nid oes greadur anamlwg yn ei olwg ef, eithr pob peth sydd yn noeth ac yn agored i'w lygaid ef." "Ym mhob lle y mae llygaid yr Arglwydd yn canfod y drygionus a'r daionus." O! lygaid ofnadwy; ô! lygaid hawddgar. Llygaid yn craffu ar anwireddau ei elynion; llygaid yn lleithio, ac yn cau ar ddiffygion ei garedigion. Pa un bynnag ai fry ai obry y dychmygwn fod wyneb Duw, credwn fod ei lygaid ym mhob man. Os na wyddom pa *fodd* y mae efe yn hollbresennol, credwn ei fod yn bresennol yn y fath fodd ag sy'n ei wneyd yn hollwybodol.

Yn ddiau, nid yw Duw neppell oddi wrth bob un o honom: y mae yn agos, yn agos iawn, at y sawl a'i hofno. Nesawn atto, ac wedi dyfod atto, rhodiwn ger ei fron, tan ymdeimlo yn wastad ei fod yn agos ac yn ein gweled. Ni all dŷn bechu yn rhyfygus tra bo yngolwg yr Arglwydd; ni all nad ymegnïa i ymberffeithio tra yr aroso ger ei fron ef. Cilio oddi wrth Dduw y mae dŷn wrth bechu; neu dybied fod Duw wedi cilio oddi wrtho ef, neu o leiaf wedi troi ei lygaid oddi arno. Y mae

weithiau eraill yn credu fod Duw yn edrych; er hynny, mae yn gwneyd ei waith yn ammherffaith, am ei fod yn tybied mai yn union o'i flaen y mae'r Arglwydd yn edrych, ac nad yw ei olygon ddim yn amgylchu'r conglau. O! yr oedd rhai o'r hên baganiaid yn synio yn amgenach am eu duwiau nag yr ydym ni yn synio am y Duw Goruchaf. Pan oedd prif gerfiedydd Tir Groeg yn gwneyd rhyw ddelw, gofynnodd cyfaill iddo, gan ddywedyd, "Phidias, pa ham yr ŵyt yn ymdrafferthu cymmaint hefo chefn y ddelw hon? pan y'i gosodir i fyny mewn ceuedd yn y mur, ni wêl undyn mo'i chefn." "Beth am y duwiau," ebe Phidias; "gwelant hwy y cefn." Y mae llawer gwaith a wna dŷn yn deg ei wyneb; y mae'r ochr sydd yn y golwg yn gymmeradwy gan ddynion; ond nid edrych Duw fel yr edrych dynion; canys nid ar y golygiad yr edrych efe, eithr ar y cymhellion y sydd o'r tu ôl i'r gwaith. Y mae Duw yn gweled y cefn. Nid oes un gwaith nac un gweithiwr yn berffaith, os nad ŷnt yn gymmeradwy gan y Duw hwnnw sy'n gweled y cefn. Ped ymdeimlem fod Duw yn agos attom, ac yn edrych arnom, fe'i gwasanaethem yn fwy cydwybodol, ac heb ei wasanaethu yn gydwybodol, ni allwn byth ei wasanaethu yn berffaith. Ddedwydded oedd yr apostol wrth allu tystiolaethu fel hyn o flaen ei gyhuddwyr: "Ha, wŷr frodyr mi a wasanaethais Dduw mewn pob cydwybod dda hyd y dydd hwn."

"Rhodia ger fy mron i," medd Duw ym mhellach. nid yn unig fel y'm hofnot trwy ofni pechu yn fy erbyn, eithr hefyd fel y gwelot un mwy a gwell na thydi dy hun. Os ewyllysi fod yn berffaith nid yw ddigon iti gredu fy mod i yn edrych arnat ti; rhaid i tithau edrych arnaf fi, er mwyn ymdebygu imi. Ger fy mron y gelli yn orau weled fy ngwedd; ger fy mron y gelli yn orau adnabod fy llais. Ufuddha imi yn yr hyn a ddywedwyf; efelycha fi yn yr hyn a wnelwyf, "Rhodia ger fy

mron i."—Yr ŵyf yn caru gweled fy mhlant yn *dechrau* cerdded. Nid yw ddrwg gennyf eu gweled yn cwympo weithiau wrth geisio cerdded. Gwell gennyf eu gweled yn cerdded yn fuscrell na'u gweled yn cropian yn siongc. Y mae dŷn ar ei dor yn debyg i'r anifail, ond y mae dŷn ar ei draed yn debyg i Dduw. Pan y gwelwyf ddŷn yn dechrau sefyll ac yn dechrau rhodio, y pryd hwnnw yr ŵyf fi yn ei arddel yn blentyn.

"Rhodia ger fy mron i," fel y bydd discybl o filwr yn rhodio ac yn ymarfer ger bron ei addyscwr. Gwyddost y gorchmynion—y gorchmynion milwrol.—Yn gyntaf oll, cyfarch. Yn awr, saf yn sytb. Dyrcha dy ben. Un, dau. Cerdd rhagot. Edryched dy lygaid yn union, ac edryched dy amrantau yn union o'th flaen. Ystyria lwybr dy draed. Na thro ar y llaw dde nac ar y llaw aswy; symmud dy droed oddi wrth ddrygioni. Cadarnha dy freichiau, a gwregysa dy lwynau â nerth. Prysura dy gerddediad. Rhodia yn bwyllog. Gorphwys bellach. Clyw! y mae chwarau chwerw draw. A ŵyt ti bellach yn barod i gymmeryd dy ran yn hwnnw? Os felly, cyfod ac ymddarpar. Oni chlywi di dwrf y tywysogion a'r bloeddio, a'r gwaewffyn a'r saethau yn tingcian ar y tariannau? Onid yw twymyn y gad yn dechrau dyfod arnat? Dos yn dy rymmusdra hwn.

"Brysia i ryfel, gwisc dy arfau,
Cymmer gâlon, mentra 'mla'n,
Ffordd nis colli, mae'n dy arwain
Gwmmwl niwl a cholofn dân."

A chofia y bydd Arglwydd y lluoedd yno hefyd yn gwylio, ac yn llywio'i fyddin oddi ar ben y bryn. I'r hwn sy'n gorchfygu y rhoddaf garreg wen; a phwy bynnag a fo ffyddlon hyd angau, rhoddaf iddo ef goron y bywyd.

Rhodiwn ger bron Duw, meddaf etto, nid yn unig fel yr ofnom Dduw, trwy ofni pechu yn ei erbyn, eithr

hefyd fel y carom ef, trwy gadw 'i orchmynion. Dywedais y dylem rodio ger bron Duw er mwyn ymdebygu iddo; ond ni allwn, ac ni fynnwn ymdebygu iddo ym mhob peth, heb ei garu. Cariad a'n galluoga i ganfod holl deithi ei feddwl, a holl ddillynion ei gymmeriad. Heb gariad ni chanfyddwn ddim un o'r lliwiau lleddf sydd arno. Yr un ffunud, cariad a'n cymhella i'w ddynwared ef yn naturiol, ac megis yn ddiarwybod i ni'n hunain. Y mae Duw oll yn hawddgar, er ei fod yn ofnadwy; ac ni allwn fod yn hir yn ei wyddfod heb ei garu; ac wrth ei garu yr ymdebygwn iddo. Fel y mae rhai yn ceisio bod yn foneddig heb gymdeithasu â gwyr boneddig, felly y mae rhai yn ceisio bod yn berffaith, ac yn cyraedd rhyw fath o berffeithrwydd cymmeradwy gan ddynion, heb rodio ger bron Duw. Gall rhinweddau dynol y rhain fod yn aml ac yn amlwg, ond nid oes ganddynt mo'r ddwyfol anian; ac nid oes ganddynt mo'r peth dain, cyfrin, a llednais hwnnw y gellir ei alw yn ddwyfol dôn. Y mae gan uchel deulu Duw ryw oslef, a rhyw oscedd, a rhyw agweddion, nad oes gan feibion dynion monynt. Y mae cymmaint o ragor rhwng dynion moesol a dynion duwiol ag sy rhwng cerryg garw'r briffordd a chabol-feini'r afon. Meibion y Dwyrain, sef pobl etholedig Duw, ac nid trigolion y *West End*, yw pobl y moesau mirain.

III. *Y Cymhelliad* i fod yn berffaith.—"Myfi yw Duw hollalluog," A ddywed rhywun fod Duw yn gorchymmyn iddo wneyd peth sydd uwch law ei allu? Beth a ddawr dy fod di yn analluog, os yw Duw yn hollalluog? Pa waeth dy fod di yn wan, os yw'r gorchmynnwr yn gadarn? Ymnertha ynghadernid ei allu ef. Os ewyllysi fod yn berffaith, yna y mae holl nerth y Duwdod wrth dy wasanaeth. Wrth orchymmyn i ti rodio fel y rhodiodd ei Fab, mae efe yn dy nerthu ac yn dy ddyscu

i rodio felly. Llawer gorchymmyn caled a roes efe i feibion Israel eriôed; ond gorchymmyn trwy ddyscu y byddai efe, a dyscu hefyd yn hytrach fel Tad nac fel Arglwydd. "Myfi," eb efe, "a ddyscais i Ephraim gerdded, gan eu cymmeryd erbyn eu breichiau. Tynnais hwynt â rheffynnau dynol, â rhwymau cariad, a bwriais attynt fwyd, er mwyn eu hudo i droedio ar fy ôl.

"Myfi yw Duw hollalluog." Rhoes Duw i Moesen enw gwell a llawnach arno'i hun na'r enw hwn; ac yn ddiweddarach rhoes enw anwylach fyth arno'i hun; ond y mae Duw hollalluog yn enw gwerthfawr odiaeth, ac yn enw a bery yn werthfawr byth, am ei fod yn enw sy'n awgrymmu pob peth a lawn ddadguddiwyd trwy yr enw Iehofa a'r enw Tad; canys wrth ddadguddio'i hun i'r patriarchiaid yn Dduw hollalluog, onid oedd yr Arglwydd yn rhoi ar ddeall yn gynnil y *gallai* efe faddau a thrugarhau, a gwneuthur estroniaid yn blant iddo'i hun? Heb law hynny, yr oedd efe wrth ddadguddio'i hun yn Dduw hollddichonol, yn arwyddo ei fod yn Dduw hollddigonol hefyd; ac am hynny y Duw hollddigonol yw'r enw a geir yn y testyn mewn rhai cyfieithiadau. Hyd yn oed yn y Gymraeg, y mae'r geiriau *digon* a *dichon* yn dyfod o'r un gwreiddyn, ac y maent yn perthyn yn agos i'w gilydd o ran ystyr hefyd. Am fod yr Arglwydd yn Dduw a *ddichon*—"a ddichon wneuthur yn dra rhagorol, y tu hwnt i bob peth yr ydym ni yn eu dymuno neu yn eu meddwl"—am hynny y mae efe yn Dduw â *digon* ganddo ar gyfer pawb. Dyma'r ystyr a roes Duw i'w enw pan y dywedodd wrth Abram ar amser arall, "Myfi yw dy wobr mawr iawn." Myfi fy hun yw'r da pennaf sy gennyt ar dy helw. Hyd yn oed pe na chaet etifedd nac etifeddiaeth, byddaf fi yn bob peth iti. Yr ŵyf fi fy hun yn fwy na'm holl wobrwyon, ac y mae fy nghyfeillgarwch yn werthfawroccach na'm holl roddion.

Mynych y byddwn yn sôn am Dduw Israel, ac am Dduw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist.—A gawsom ni Dduw Abram, sef y Duw hollalluog, yn rhan i ni? Pe caem hwnnw, ïe hwnnw yn gyfaill ini, ymwrolem yn fwy o lawer i wneuthur ein dyledswyddau, ac i wynebu profedigaethau. Beth yw swm a sylwedd ein profiadau crefyddol, yn ddirgel ac ar goedd? Onid hyn? Y mae arnaf ofn y peth yma a'r peth arall. Y mae arnaf ofn marw, ac ofn byw; ofn myned i uffern, ac ofn myned i'r nef. Yr ŵyf yn ofni y syrthiaf yn y diffeithwch, ac y'm cleddir yn un o feddau'r blys; yn ofni cyfarfod â'r Amaleciaid yn y dyffryn, ac â'r Amoriaid yn y mynydd; yn ofni y tramgwyddaf ac y collaf fy ffordd ynglyn cyscod angau; yn ofni yr â fy mhen dan y dŵr, yn ymchwydd cryf yr Iorddonen; yn ofni y byddaf yn rhy wan i sefyll yn y farn, ac yn rhy wan i ddal tragwyddol bwys gogoniant yn y nef. Gwan ydwyt ti, medd yr Arglwydd; ond paham yr ŵyt yn fy ngadael i allan o'r cyfrif. "Myfi yw Duw hollalluog; rhodia ger fy mron i, a bydd berffaith. Saf di yn fy ymyl i, a safaf finnau yn dy ymyl dithau. Fe'th arweiniaf trwy yr anialwch gwag erchyll. Fe'th dywysaf ar hyd y glyn tywyll. "Pan elych trwy y dyfroedd—dyfroedd cryfion angau—myfi a fyddaf gyd â thi, fel na lifont trosot; a phan rodiech trwy y tân—y tân sydd i brofi gwaith pawb—ni'th loscir." Rhoddaf iti hyder ddydd y farn; ac yn y nef; cei nerth tragwyddol i ddal y tragwyddol bwys.—"Myfi yw Duw hollalluog." A phe digwyddai i'r nefoedd golli ei swyn, ac i tithau flino ar ei golygfeydd, ni flini byth arnaf fi; canys Duw hollddigonol ydwyf. Tra bwyf fi yn eiddo iti, byddi byth ar ben dy ddigon. Y Duw hwn a fyddo'n Duw ni byth ac yn dragywydd.

## III.

## "Y DDYSC NEWYDD" A'R HEN.

"*Oblegid ynddo ef yr ydym ni yn byw, symmud, ac yn bod.*"—ACTAU xvii. 28 (*a*).

Y MAE yn hoff gennyf fi lyfr yr Actau, am fod ynddo rai o bregethau yr apostolion pennaf; ac y mae yn hoff gennyf y pregethau hynny, am eu bod hwy yn cyflawni yr hyn sy'n ymddangos yn ddiffygiol yn yr epistolau. O'r pregethau hynny, y rhai gorau gennyf yw y rhai a lefarwyd wrth genedloedd paganaidd, megis pregeth Pedr yn nhy Cornelius, a phregethau Paul yn Lystra ac yn Athen, am eu bod hwy yn cynnwys gwirioneddau eangach a mwy cyffredinol na'r rhai a geir yn yr epistolau. Y mae'r apostolion eu hunain hefyd yn ymddangos yn haelach eu càlon ac yn rhyddach eu syniadau, ac ym mhob peth yn hawddgarach, yn y pregethau hyn nag y maent yn ymddangos yn eu hepistolau. Gellid meddwl fod dylanwad y paganiaid gorau arnynt hwy agos cystal a'u dylanwad hwythau ar y paganiaid. Cristion o Iddew digon rhagfarnllyd oedd Pedr ar y cyntaf; am hynny fe'i danfonodd Duw at fintai o filwyr Rhufeinig yn Ioppa, er mwyn eangu ei feddwl a'i gàlon; a chyd a'i ddyfod wyneb yn wyneb â'r rhai yr oedd efe o'r blaen yn eu cyfrif yn aflan, fe ddywedodd, "Yr wyf yn deall [bellach] mewn gwirionedd nad ydyw Duw dderbyniwr wyneb; ond ym mhob cenedl [boed hi Gristionogol neu Iddewaidd, neu baganaidd,] y neb sy'n ei ofni ef ac yn gweithredu cyfiawnder sy gymmeradwy ganddo ef." Yr oedd yn dda hyd yn oed i apostol ymgydnabod

â chenedl-ddynion; a phe baem ninnau, bregethwyr Cymru, yn ymdroi chwaneg ym mhlith cenedloedd estronol, ac yn darllen chwaneg ar eu llyfrau, fe ddywedem lai o bethau ffol am danynt, yn ein pregethau ac yn ein hymddiddanion.

Y mae Apostol y Cenedloedd, yr un ffunud, yn ymddangos yn naelach, yn ystwythach, ac yn hawddgarach, wrth bregethu i dyrfa o Atheniaid deallus nag wrth scrifennu llythyrau at yr Iddewon cyffredin, a'r caethweision Cenedlig a oedd yn cyfansoddi'r eglwysi Cristionogol. Gellid meddwl, wrth ddarllen ei epistolau, fod y paganiaid oll heb Dduw yn y byd, ac nad oedd dim da yn trigo yn neb o honynt hwy; nad yw rhinweddau naturiol dŷn naturiol fawr amgenach na phechodau discleirwych; nad yw crefyddau gorau'r byd paganaidd yn cynnwys dim dadguddiad o feddwl Duw; ac mai trwy ffydd, ïe, mai trwy ffydd yn unig, y cyfiawnheir pob dŷn; ac am hynny nad oes obaith i un baban, nac i un pagan fod yn gadwedig. Ond nid teg yw barnu apostol, mwy na rhyw ddŷn arall, wrth ei lythyrau yn unig, yn enwedig wrth ymadroddion unigol a digysswllt wedi eu tynnu allan o'r llythyrau hynny. Ys gwir y rhaid i ninnau addef, fel awdur yr ail epistol yr ydys yn ei briodoli i Pedr, fod yn epistolau Paul rai pethau anhawdd eu deall; ond y mae yn ddiau y gallwn ddeall ei epistolau yn well o lawer wrth eu dal yngolau ei bregethau. Os mynnwn wybod pa rai oedd bannau diwinyddiaeth Paul, darllenwn ei bregeth i gynnulleidfa ddyscedig a beirniadol Athen; canys y mae hon yn cynnwys crynhodeb trefnus o'r ddysceidiaeth newydd y mynnai'r Atheniaid ei chlywed ganddo. Nid ŵyf yn dywedyd fod y bregeth yn cynnwys holl byngciau neillduol Cristionogaeth, ond y mae hi yn cynnwys holl byngciau pwysiccaf crefydd gyffredinol. Y mae hi yn mynegi mai un Duw sydd, ac mai efe yw Creawdr a Chynnaliwr a

Llywodraethwr pawb a phob peth; fod pawb a phob peth *yn* y Duw hwnnw, ac am hynny ei fod yn yspryd, ac yn yspryd mor fawr fel nad oes dim lle i Dduw arall gydfod âg ef; fod dyled ar bob dŷn i addoli'r Duw hwnnw mewn yspryd a gwirionedd; fod Duw, er mwyn cynnorthwyo dynion i wneyd hynny, wedi ordeinio gŵr i ddwyn goleuni i'r byd yn lle tywyllwch—gŵr a rannodd hanes y byd yn ddau amser, sef "amseroedd yr anwybodaeth" a'r "awr hon," sef yr awr i edifarhau; hynny ydyw, i ymnewid mewn meddwl a buchedd. Nid yw'r apostol yn dywedyd odid ddim am berson a gwaith y gŵr hwnnw, eithr y mae yn dywedyd ei fod yn gyfryw ŵr ag y bu yn wiw gan Dduw ei adgyfodi oddi wrth y meirw, er mwyn i bawb gredu ynddo; ac yn gyfryw ŵr ag y bu yn wiw ganddo'i osod yn Farnwr, er mwyn i bawb ei anrhydeddu. Nid yw'r apostol yn dywedyd mai'r Iesu ydyw'r gŵr neu'r dŷn hwn, na'i fod chwaith yn Dduw, eithr y mae yn rhoi ar ddeall yn eglur na bu eriôed ac na bydd byth ddŷn o fath y dŷn hwn.

"Yn wir, yn wir," medd rhai o honoch, "pregeth âg ychydig iawn o efengyl ynddi yw'r bregeth hon i'r Atheniaid; a phe buasai rhywun llai nag apostol yn pregethu i ni bregeth gyffelyb, buasem yn achwyn arno wrth geidwaid y ffydd ei fod yn rhoddi ini fwy o athroniaeth nag o efengyl." Hawyr bach! ni ddylech ddisgwyl hyd yn oed i apostol allu pregethu'r holl efengyl mewn un bregeth, yn enwedig mewn pregeth bum munud fel hon yma. Ond o ran hynny, nid ŵyf fi yn meddwl mai o ddiffyg amser yn unig y peidiodd yr apostol â rhoi chwaneg o efengyl y waith hon, eithr o fwriad. Yr oedd iawn gyfranu gair y gwirionedd mor bwysig yn ei olwg ef a mynegi holl gyngor Duw; ac y mae yn ddiau ei fod ef wedi rhoddi i'r Atheniaid y gyfran o'r gwirionedd a oedd gymhwysaf iddynt hwy ar y pryd. Er lleied o efengyl sydd yn ei bregeth, y mae ynddi fwy o ddiwin-

yddiaeth a mwy o grefydd nag sy mewn un bregeth arall oddi gerth y bregeth ar y mynydd. Ac y mae ynddi lawn ddigon o efengyl hefyd i baganiaid na chlywsant mo'r efengyl o'r blaen; digon o efengyl i bob newyddian yn y ffydd; digon i bob plentyn; ïe, a digon o efengyl i gadw pob rhyw ddŷn. A raid i ddŷn fod wedi darllen y fath lyfrau a rhai Dr. Edwards ar Berson Crist ac Athrawiaeth yr Iawn cyn y bydd ganddo ddigon o wybodaeth i fod yn gadwedig? Na raid; ped amgen, ychydig iawn a fyddai nifer y rhai cadwedig. Pan oeddwn i yn blentyn, ni allwn ddeall fy rhieni a'm hathrawon pan ddywedent wrthyf fod y Tad yn Dduw, a'i Fab hefyd yn Dduw, ac mai er hynny un Duw sydd, ac nid dau; a chyn darfod imi ddarllen "Athrawiaeth yr Iawn," pan yn rhyw bymtheg oed, credu yr oeddwn i er fy ngwaethaf mai dŷn oedd yr Iesu—mai y gŵr ydoedd a ordeiniodd Duw i gadw dynion, trwy ei addysc a'i esampl. Yn awr a faidd rhywun daeru fod y Gwaredwr grasol yn ddigllon wrth blentyn fel ag oeddwn i, am gredu mai dŷn ydoedd; os oeddwn yn credu ar yr un pryd ei fod yn ddigon o ddŷn i'm cadw? Meddwl mawr am yr Iesu ei hun sy'n bwysig, ac nid iawn-syniad am ddull ei ddyfodiad i'r byd, am gyfansoddiad ei berson, a natur ei waith. Os ŷm ni, y Trindodiaid, yn mawrygu llai ar ein Duw nag y mae'r Undodiaid ar eu dŷn, yna yr ŷm ni yn bellach oddi wrth deyrnas nefoedd na hwynt-hwy.

Y mae rhyddfrydigrwydd yr apostol yn ymddangos nid yn unig yn y grefydd lydan y mae efe yn ei phregethu, eithr hefyd yn ei syniadau rhadlon am grefyddwyr paganaidd. Dylid cofio hyn wrth ddarllen yr ymadroddion a ddyfynnais o'r epistolau. Er nad yw'r apostol yn canmol dim ar grefydd yr Atheniaid, y mae yn canmol eu crefyddolder.—"Ha wŷr Atheniaid," meddai, "mi a'ch gwelaf ym mhob peth yn dra chrefyddol." Fe-

geisiodd y cyfieithwyr gyssoni'r bregeth hon â'r epistolau trwy droi y gair "crefyddol" neu "dduwiolfrydig" yn "goel-grefyddol;" ond nid oes neb mwyach yn ceisio amddiffyn cyssondeb yr apostol trwy ei wneuthur yn angall; canys angall iawn a fuasai efe pe buasai yn sarhau ei wrandawyr gyd â'i fod wedi agoryd ei enau. Nid Cristion yn unig ydoedd Paul: yr oedd yn ŵr boneddig hefyd; am hynny, y mae yn cydnabod pob peth a'r oedd yn dda yn yr Atheniaid, ac yn rhoi'r lliw gorau ar bob peth a'r a welodd yn eu plith. Y mae yn cydnabod y gallent fod yn bobl grefyddol, sef yn bobl yn ofni Duw, er eu bod yn eilunaddolgar. Pan welodd efe allor wedi ei chodi i Dduw dienw, y mae yn bwrw fod y rhai a gododd yr allor honno yn addoli yn ddiarwybod yr un Duw ag yr oedd yntau yn ei addoli. Nid yw gywilyddus ganddo gadarnhau un o byngciau ei bregeth â llinell o gân pagan, sef hon: "Ei hiliogaeth ef ydym ni." A phwy, dybygwch, y mae'r hên fardd yn ei feddwl wrth yr "ef" yn y llinell? Neb amgen na Iau (*Jupiter*), prif dduw paganiaid Groeg a Rhufain; ac er hynny, y mae'r apostol yn bwrw mai am y Duw Goruchaf yr oedd y bardd yn meddwl, ond ei fod wedi rhoi camenw arno.

Er nad oedd athronyddion Athen ddim fel y werin bobl yn chwannog i amlhau duwiau ac i addoli eilunod, etto yr oedd athrawiaethau dwy yscol o honynt, sef yr Epicuriaid a'r Stoiciaid, yn wahanol iawn i athrawiaethau'r grefydd Gristionogol; ïe, yn wir, yn wahanol i athroniaeth orau y Groegiaid eu hunain; er hynny, nid oedd yn wiw gan yr apostol eu condemnio hwythau, na hyd yn oed eu gwrthwynebu mewn modd uniongyrchol. Am ddysceidiaeth yr yscol Blatonaidd, y mae efe yn cyfuno yr hyn a oedd wir yn honno â'i ddysceidiaeth ei hun. Mewn gwirionedd, efe oedd y diwinydd cyntaf a geisiodd gymmodi Cristionogaeth â chrefydd naturiol y paganiaid. Er fod ei yspryd wedi ei gynhyrfu ynddo

wrth weled y ddinas yn llawn o eilunod, etto ni ddarfu iddo ef, fel dilynwyr Knox a milwyr Cromwell, ddim codi ei law yn erbyn un eilun. Ni adawodd efe i'w fawr eiddigedd ei hudo i gondemnio neb na dim mewn geiriau gerwin. Y mae yn escuso cyfeiliornadau a beiau'r Atheniaid trwy fynegi mai yn amseroedd yr anwybodaeth yr oeddynt yn byw, a bod y Duw mawr yn ei ras wedi gweled yn dda esceuluso, neu edrych heibio i'r amseroedd hynny. Ond yr awr hon, wedi dyfod goleuni'r efengyl i'r byd—"yr awr hon, y mae Duw yn gorchymmyn i bob dŷn ym mhob man edifarhau." Hyd yn hyn ceuodd efe'i lygaid ar feiau'r cenedloedd; ond o hyn allan, y mae yn myned i graffu arnynt, "gan iddo osod diwrnod yn yr hwn y barna efe'r byd mewn cyfiawnder."

Gallwn dynnu llawer o wersi buddiol i ni'n hunain oddi wrth ymddygiad Paul yn Athen, ac yn eu plith y rhai hyn: Os myn Cristionogion ddylanwadu ar y byd paganaidd, rhaid iddynt gydnabod y mesur o ddaioni a fo yn y dynion, a'r mesur o wirionedd a fo yn eu crefydd. Dylent edrych ar grefyddau gorau'r paganiaid yn hytrach fel crefyddau ammherffaith nag fel crefyddau gau, ac ystyried mai'r anffawd fwyaf i genedl yw bod heb grefydd o gwbl; canys lle na byddo crefydd o fath yn y byd, nid oes yno ddim crefyddolder chwaith. Yn hytrach na dangos ym mha bethau y mae'r Grefydd Gristionogol a chrefyddau paganaidd yn anghyttuno, byddai yn well i gennadon ar y cyntaf ddangos ym mha bethau y maent yn cyttuno, ac yna gyfuno gwirionedd yr efengyl â hynny o wirionedd a fo yn y grefydd baganaidd; canys oddi wrth Dduw y mae pob daioni yn dyfod, boed ef fawr neu fach; ac efe yw Tad pob goleuni, pa un bynnag a fyddo ai cryf ai gwan. Pe buasai y rhan fwyaf o'r cennadon a ddanfonwyd i'r India ac i Sina wedi ymddwyn mor ddoeth ac mor dringar tu ag at drigolion y gwledydd hynny ag yr ymddygodd Paul tu ag

at yr Atheniaid, ni buasai Cristionogaeth mor eiddil ac mor anghymmeradwy yno ag ydyw ar hyn o bryd. Y mae yn wir na wnaeth yr apostol ei hun ddim llawer o broselytiaid yn Athen; ond fe ddylid cofio mai dros ychydig iawn o amser y bu efe yno; ac nid mewn deu-ddydd neu dri y gellir troi llaweroedd o bobl ddeallus oddi wrth eu hên grefydd eu hunain at grefydd newydd. Pe buasai efe wedi myned at y Groegiaid dan gyscod arfau y Rhufeiniaid, a oedd wedi lladratta'u gwlad a'i gwneuthur yn anghyfannedd, buasai ei lwyddiant yn llai fyth.

Ar ol rhoi crynhodeb o bregeth yr apostol, a dywedyd ychydig am ei ffurf, ei dull a'i chyfaddasder, y mae yn bryd imi bellach sylwi ar ei phrif bennau, yn enwedig y pennau hynny y mae'r testyn yn gwlwm arnynt.

Yr ych yn gweled mai hyn y mae'r testyn yn ei ddy-wedyd: sef fod pob dŷn yn Nuw; ac y mae yn awgrym-mu hefyd fod pob peth ynddo. Yn awr, y mae rhai esponwyr, o gymmeryd adnod y testyn ar ei phen ei hun, yn cyhuddo'r apostol o dderbyn athrawiaeth hên athronydd Groegaidd â'i enw Parmenid; yr hon athraw-iaeth sy'n fwy hyspys yn y dyddiau hyn wrth yr enw Pantheistiaeth. Cyn belled ag y mae Pantheistiaeth yn dyscu fod pob peth yn Nuw, a bod Duw ym mhob peth, y mae hi yn dyscu'r hyn sy wir a chyttunol â'r Scrythur. Ond y mae'r Pantheistiaid, hên a diweddar, yn dywedyd mwy na bod y naill *yn* y llall; y maent hwy yn dywedyd mai'r naill *ydyw*'r llall. Y maent yn cym-myscu Duw a'r byd â'u gilydd, gan ddywedyd mai Duw ydyw'r byd, ac mai'r byd ydyw Duw. Yn awr, y mae'r apostol wrth gydnabod hynny o wir a oedd yn athraw-iaeth yr hên bagan, wedi gofalu ar ddywedyd yn nechrau ei bregeth mai Duw a wnaeth y byd a phob peth a'r sydd ynddo; ac am hynny, fod Duw yn bod cyn y byd, ac yn bod etto ar wahan i'r byd. Gan mai Duw ydyw'r

Creawdr, y mae efe hefyd yn Arglwydd nef a daear. Y mae hynny yr un peth a dywedyd fod Duw uwch law y byd, er ei fod yn y byd, a'r byd ynddo yntau.

Pa ham, meddwch, y mae'r apostol yn colli amser i ddywedyd peth mor amlwg a'r ffaith mai Duw a greodd y byd? Nid ydyw hyn o beth yn ffaith amlwg i neb a'r sy'n hyderu ar ei reswm ei hun. "Wrth ffydd yr ydym yn deall wneuthur y bydoedd trwy air Duw." Y paganiaid mwyaf ffyddiog a ddarganfu'r gwirionedd hwn. Am y ddwy yscol y cyfarfu Paul â hwynt yn Athen, nid oedd y Stoiciaid yn credu fod Duw yn Greawdr; ac os oedd yr Epicuriaid yn credu fod Duw o gwbl, nid oeddynt hwythau yn credu ei fod yn Arglwydd nef a daear.

Y mae syniadau dynion am Dduw ac am y byd yn eu dosparthu yn bedair ysco!. Y mae pawb ar y ddaear yn perthyn i ryw un o'r pedair yscol hyn, pa un bynnag a wyddant hynny ai peidio. Eleatiaid yw un dosparth, y rhai sy'n dywedyd fod Duw, ond nad oes un byd. Atheistiaid yw dosparth arall, y rhai sy'n dywedyd fod byd, ond nad oes un Duw. Pantheistiaid yw eraill, y rhai sy'n dywedyd fod Duw a'r byd yn un. Platoniaid neu Gristionogion yw'r lleill, y rhai sy'n dywedyd fod Duw a'r byd yn wahanol. Ychydig erbyn hyn sy'n taeru nad oes byd. Nid oes mwyach odid neb deallus yn taeru nad oes Duw chwaith. Y mae Atheistiaeth bendant o'r fath yma wedi myned yn anghymmeradwy. Pantheistiaeth erbyn hyn yw'r cyfeiliornad ffasiynol; ac y mae hwn yn gyfeiliornad mwy peryglus nag Atheistiaeth, am ei fod yn llai hagr ei wedd. Mewn gwirionedd, ffurf lariaidd ar Atheistiaeth ydyw Pantheistiaeth; canys y mae'r naill fel y llall yn dilèu'r Creawdr.

Bobl ieuaingc, gellwch synio fel y mynnoch, o'm rhan i, am oed y byd ac am y dull a'r modd y daeth efe a'i drigolion i fod, ond deliwch afael yn dyn yn y gwirionedd

hwn, sef mai Duw a wnaeth y byd, a phob peth a'r sydd ynddo; canys os anghredwch hyn, byddwch ar lithrigfa nad oes dim pen draw iddi.

Ond os Duw yw Creawdr pawb a phob peth, y mae yn canlyn mai efe yw eu Cynnaliwr hefyd. Yn wir, trwy barhau i greu y mae Duw yn cynnal. Y mae efe yn adnewyddu wyneb y ddaear o flwyddyn i flwyddyn. Y mae yn rhoddi i bawb fywyd ac anadl o awr i awr; a phan ddygo efe ymaith eu hanadl, trengant hwythau a dychwelant i'w llwch. Nid peiriant wedi ei osod unwaith i fyned rhagddo o hono'i hun, ar wahan i'w Wneuthurwr, ydyw'r byd, eithr creadigaeth fyw y sy'n aros o hyd yn llaw yr hwn a'i gwnaeth. Y mae'r byd yn parhau am ei fod yn Nuw; y mae yn yscogi am fod Duw ynddo ef.

Ond os yw Duw yn Greawdr ac yn Gynnaliwr y byd, yna y mae yn Llywodraethwr hefyd. Ar greaduriaid rhesymmol, sef ar fodau y rhoddwyd iddynt gryn fesur o ryddid ac annibyniaeth, y mae Duw yn Llywodraethwr mewn modd arbennig. Am greaduriaid eraill, megys llysiau a bwystfilod, y maent hwy yn gaeth i'r deddfau a osodwyd arnynt wrth eu creu; ond am ddŷn, y mae ganddo ef allu i droseddu'r deddfau a osodwyd arno; ac y mae efe hyd ryw fesur wedi eu troseddu; er hynny, pe buasai'r gallu hwn yn ddiderfyn, buasai yn allu peryglus, am y buasai yn dirymmu amcanion y Creawdr. O blegid hyn, y mae Duw weithiau yn goruwchreoli amcanion dŷn, ac weithiau yn eu diddymmu. Er rhoi iddo raff hir, y mae yn dywedyd wrtho weithiau, fel wrth y môr, "Hyd yma yr ei, ac nid ym mhellach." A phan fo Duw yn goddef i bobl ymgynddeiriogi gan awydd i ladd dynion ac i ladratta gwledydd, neu i wneuthur rhyw gamwri arall, y mae efe yn gallu gwneuthur i dda ddyfod o'r drwg.—"Diau," medd y Salmydd, "cynddaredd dŷn a'th folianna di; gweddill cynddaredd a waherddi," neu

yn ôl cyfieithiad arall, "â gweddill cynddaredd yr ŵyt ti yn ymwregysu," sef yw hynny: yr ŵyt yn gwneuthur defnydd o gynddaredd dŷn i ddwyn dy amcanion dy hun i ben.

Creaduriaid rhydd, gan hynny, y mae Duw yn eu llywodraethu yn y modd hwn; am nad oes mewn creaduriaid eraill na gallu nac ewyllys i wrthweithio ei ewyllys ef. Felly, er fod Duw yn Greawdr ac yn Gynnaliwr pob peth, etto yr ydys yn dangos yn yr adnod nesaf mai ar ddynion y mae efe yn Llywodraethwr. Ar ôl i Dduw wneuthur y rhai hyn o un gwaed, fe'u dosparthodd yn genedloedd, ac fe'u gwascarodd dros wyneb y ddaear, gan bennu terfynau preswylfod a therfynau amser pob cenedl.

Cofier mai'r Duw a wnaeth ddynion a ordeiniodd genedloedd hefyd; ac y mae difodi cenedl y trychineb nesaf i ddifodi dynol-ryw, a difodi iaith cenedl y trychineb nesaf i ddifodi'r genedl, am fod cenedl yn peidio â bod yn genedl ym mhen mwy neu lai o amser ar ol colli ei hiaith. Pan fo cenedl yn esceuluso dyscu ei hiaith ei hun ar yr aelwydydd ac yn yr yscolion beunyddiol, y mae'r genedl honno yn euog o ladd ei hun; ac y mae fod dŷn neu genedl yn lladd ei hun yn arwydd o benwendid. Nid yw cenedl iach, mwy na dŷn iach, yn foddlon i beidio â bod. Y mae'r awydd i fyw yn awydd anorchfygol ym mhob cenedl a'r sy'n haeddu byw.

Bu yn wiw gan Dduw ddadguddio ini ddarfod gwneuthur o un gwaed bob cenedl o ddynion, er mwyn dangos fod yn rhesymmol i ddynion gydymdeimlo â'u gilydd, a charu eu gilydd fel perthynasau agos, heb wneuthur dimrhagor yn hyn o beth rhwng Iddew a Groegwr, rhwng du a gwyn, na rhwng pell ac agos.

Ond bu yn wiw gan Dduw ddadguddio ini ar yr un pryd ddarfod iddo wneuthur dynion yn genedloedd hefyd. A pha ham y gwahanodd efe hwynt yn genedl-

oedd? Am lawer rheswm.—Yn un peth, er mwyn peri'r cyffelyb amrywiaeth ym mhlith dynion ag sydd ym mhlith llysiau ac anifeiliaid. Hefyd, er mwyn sicrhau gwell addysc iddynt; canys y mae gwahanol genedloedd ar y ddaear yn atteb yr un diben a gwahanol ddosparthau mewn yscol. Yn wir, y mae addysc genedlig mor fanteisiol i'r ddynoliaeth ag yw addysc deuluol i'r genedl. Ond rhesymmau athronyddol a diwinyddol yw y rhain; rheswm mwy crefyddol y mae Paul yn ei roi. I ba beth, medd efe, y dosparthodd Duw ddynion yn genedloedd, ac yr ordeiniodd efe wlad i bob cenedl, ac amser pennodedig i ymddadblygu ynddi? "Fel y ceisient yr Arglwydd." Y mae yn haws i genedl rydd ac annibynol, ac i genedl a fo yn preswylio yn llonydd yn ei gwlad ei hun, gael hyd i'w Duw na chenedl ddarostyngedig neu genedl orchfygol. Y mae cenedl ddarostyngedig yn dueddol i fyned yn wasaidd, yn ddynwaredol, yn gyffredin ei syniadau, yn rhy lwfr i feddwl drosti ei hun, ac yn rhy lwfr i ddywedyd y gwir; a phan fyddo'r gyfryw genedl yn ceisio Duw, ei geisio y bydd hi er mwyn cael moethau neu anwes ganddo, ac nid er mwyn dyrchafu ei enw trwy weithredoedd da. Y mae peryglon cenedl orchfygol yn wahanol. Pan elo teyrnas yn ymmerodraeth orchfygol, y mae hi yn ymfalchïo, yn ymddirywio yn ei moesau, yn anghofio Duw ei Gwneuthurwr, yn cyffroi llid cenedloedd eraill, ac yn gwneuthur rhywbeth neu gilydd i sicrhau ei chwymp ei hun. Y mae elfennau dinistr ym mhob ymmerodraeth a ffurfiwyd trwy drais. Os yw Ymmerodraeth Prydain wedi parhau yn hwy nag Ymmerodraeth Ffraingc, y mae hynny am fod yn haws meistroli cenedloedd diniwed fel yr Indiaid a'r Eifftiaid na chenedloedd ysprydlawn fel yr Ellmyn, y Prwsiaid a'r Spaeniaid; ond fel y darfu am Ymmerodraeth Ffraingc, Ymmerodraeth Spaen ac Ymmerodraeth Rhufain, felly y derfydd am Ymmerodraeth Prydain, pan

ddelo'i hamser terfynedig. Gan fod Prydain agos mor ymdrechgar i ddanfon cennadon a Biblau i baganiaid ag yw hi i ddanfon iddynt opiwm a diodydd meddwol, y mae rhai pobl yn meddwl yr arbedir hi am amser maith; ond nid ä hynny o arian y mae hi yn eu gwario ar gennadon a Biblau y gall hi wneyd iawn am y cam wnaeth hi â chenedloedd eraill. Os myn hi weled y cenedloedd yn ceisio Duw'r Cristionogion, rhaid iddi adferu pob gwlad a ladrattaodd hi i'w chyfiawn berchennogion, ac edifarhau mewn llwch a lludw am yr afonydd o waed gwirion a dywalltodd hi, er mwyn porthi ei thrachwant. Onid anghyfiawnder y wlad hon, yn anad un wlad arall, yw'r achos na wnaeth Cristionogaeth odid ddim cynnydd yn yr India ac yn Sina er ys can mlynedd? ac onid hynny yw'r achos fod enw Cristionogion wedi myned yn rheg ac yn felldith mewn llawer gwlad arall. Cyn y bydd i air yr Arglwydd redeg a chael gogonedd yn y byd, rhaid i ladd a lladratta yn enw'r Iesu beidio; rhaid i gaethwasanaeth cenedlig ddarfod, a myned mor wrthun yn ein golwg ag yw caethwasanaeth personol. Y mae yn wir fod Duw yn goddef i genedl gref arglwyddiaethu ar genedl wan; ond nid yw efe yn cymmeradwyo pob peth y mae yn ei oddef; ac ni ddylem ninnau ei gymmeradwyo. Ei fwriad a'i ewyllys ef yw i bob cenedl fod yn oruchaf yn ei gwlad ei hun; a bod i'w chyfreithiau gael eu gweinyddu, ac i'r efengyl gael ei phregethu, yn ei hiaith hi ei hun.—"Pan gyfrannodd y Goruchaf etifeddiaeth y cenedloedd, pan neillduodd efe feibion Adda"; hynny ydyw, pan neillduodd efe hwynt trwy roi i bob un o honynt iaith neillduol, "y gosododd efe derfynnau'r bobloedd."

Gymry ieuaingc, wrth ymgydnabod â gwleidyddiaeth y newyddiadur, nac esgeuluswch astudio gwleidyddiaeth gyfiawnach y Testament Newydd. Cofiwch ym mlaenaf eich bod yn *ddynion*, o'r un gwaed a'r Saeson a'r Bwyr-

iaid a'r Caffiriaid a'r Sineaid; am hynny, byddwch barod i roddi iddynt hwy bob braint a fynnech ei chael i chwi eich hun. Cofiwch, yn ail, eich bod yn genedl, trwy ordeiniad Duw; am hynny, gwnewch yr hyn a alloch i gadw'r genedl yn genedl, trwy gadw'i hiaith, a phob peth gwerthfawr arall a berthyno iddi. Os byddwch anffyddlon i'ch gwlad a'ch iaith a'ch cenedl, pa fodd y gellir disgwyl i chwi fod yn ffyddlon i Dduw ac i'r ddynoliaeth? Na fydded arnoch gywilydd o'r pethau hynny y sy'n eich neillduo oddi wrth genedloedd eraill; ac os mynnwch ddynwared y genedl nesaf attoch, dynwaredwch hi yn y pethau y mae hi yn rhagori arnoch, ac nid yn ei balchder, ei thrahausder, ei bocsach, ei rhyfelgarwch, ei chwareugarwch, ei chulni meddyliol, a'i diffyg cydymdeimlad â chenedloedd eraill.

Gan i Dduw eich gwneuthur yn genedl, ymgedwch yn genedl; gan iddo gymmeryd miloedd o flynyddoedd i ffurfio iaith gyfaddas ichwi, cedwch yr iaith honno; canys wrth gydweithio â Duw yn ei fwriadau tu ag attoch, bydd yn haws ichwi ei gael wrth ei geisio. Pwy a ŵyr nad yw Duw wedi cadw'r Cymry yn genedl hyd yn hyn, am fod ganddo waith neillduol i'w wneuthur trwyddynt yn y byd. Ni byddai yn niweidiol ichwi gredu hynny, pa un bynnag. Y mae llawer cenedl fach wedi myned yn genedl ddylanwadol mewn byr amser, a llawer cenedl fawr wedi cwympo megis mewn un dydd. Y mae i genedloedd, fel i bersonau, eu hamseroedd rhagosodedig. Na chaffer y Cymry yn ammharod pan ddelo amser eu hymweliad.

Ym mhellach; er fod llawer o genedloedd, un Duw a ddylent ei geisio; canys y mae undod y ddynoliaeth yn brawf o undod Duw, fel y mae undod Duw yn brawf o undod y ddynoliaeth. Wrth geisio'r Duw hwn yn y ffordd a ordeiniodd efe, nid yw yn anawdd ei gael. Y mae yn un y gellir ymbalfalu am dano; hynny ydyw, ei

deimlo; a chan ei fod yn un y gellir ei gael megis trwy ei deimlo, nid yw efe yn ddiau neppell oddi wrth bob un o honom. Pa mor bell bynnag a fôm ni oddi wrth Dduw o ran ein meddwl, y mae efe yn agos attom ni o ran ei fod. Yn wir, y mae mor agos fel na ddichon iddo fod yn agosach; "o blegid ynddo ef yr ydym ni yn byw, yn symmud, ac yn bod." Graddfa escynnol, ac nid graddfa ddiscynnol, sydd yn y geiriau byw, symmud a bod. Y mae yn wir fod *byw* yn gyffredin yn meddwl mwy na *bod*; ond yma, y mae *bod* yn meddwl mwy na *byw*; canys bywyd anianol y mae "byw" yn ei feddwl, tra y mae "bod" yn arwyddo'r fodolaeth rydd ac annibynnol y sy'n perthyn i yspryd dŷn. Gan fod dŷn yn ben a pherffeithiad ar natur, y mae efe yn cyfrannogi o naturiaeth pob creadur sydd is ei law. Y mae yn *byw* y bywyd anianol y mae'r llysieuyn yn ei fyw, ac yn symmud fel y mae'r anifail yn symmud. Byw yn unig y mae'r llysieuyn, ac ni all efe symmud oddi gerth trwy dyfu yn ei unfan. Y mae'r anifail nid yn unig yn byw, eithr hefyd yn symmud, trwy newid ei le; er hynny, gan fod yr anifail dan ddeddf gaeth, yr ydys yn ei galw yn reddf, nid yw yntau yn *bod* fel y mae person yn bod; a phersonoliaeth yw'r ffurf uchaf ar fodolaeth, hyd y gwyddom ni. Yn awr, y mae dŷn yn byw, yn symmud, ac yn bod. Y mae yn cyfuno ynddo'i hun fatter ac yspryd; o blegid y mae yn byw fel y mae'r glaswelltyn yn byw, ac yn *bod* fel y mae'r angel yn bod. Yn Nuw y mae yntau, fel pob creadur arall, ac am hynny ar Dduw y mae yn dibynnu; er hynny, gan ei fod yn *bod* yn Nuw, y mae iddo ryw fesur o annibyniaeth. Pe na buasai dynion yn greaduriaid annibynnol, ni buasent yn greaduriaid cyfrifol chwâith. Pe na buasai ganddynt ewyllys rydd, sef gallu i ddewis da neu ddrwg, yna Duw a fuasai yn gyfrifol am gwymp eu tad, ac am bob gweithred ddrwg a wnaethant hwythau ar ôl y cwymp. Trwy amddifadu dŷn o'i ryddid

y gallasai Duw ei attal rhag pechu; a phwy a fynnasai fod heb ei ryddid, yn unig o herwydd fod yn bossibl iddo gamarfer y rhyddid hwnnw? Rhyddid yw'r ddawn werthfawroccaf a allasai Duw ei rhoddi i greadur; ond, fel llawer dawn werthfawr arall, yr oedd hi yn ddawn beryglus iawn; ac yn lle ymgodi at Dduw, trwy ei hiawnarfer hi, cwympo a wnaeth dŷn trwy ei chamarfer; a chan nad oedd achos iddo'i chamarfer, y mae yn euog o bechod am wneuthur hynny. Wedi'r cwbl, y mae hyd yn oed pechod ac euogrwydd dŷn yn arwyddo ei fod yn greadur mawr. Y mae'r anifail yn gwneuthur llawer gweithred ddrwg; er hynny, nid yw efe byth yn pechu. Y mae ar ambell anifail ofn cosp; er hynny, nid yw efe yn ymdeimlo ei fod yn euog ger bron Duw ac yngwyneb deddf. Nid oes ynddo bechod ac euogrwydd, a hynny am nad yw efe ei hun yn *bod* yn wirioneddol. Y mae pob creadur a'r sy'n *bod* yn berson—yn berson y rhoddwyd iddo gymmaint o ryddid ac annibyniaeth ag a allasai'r Creawdr eu rhoddi i greadur. Y mae yn wiw ini ddiolch i Dduw am y rhyddid a roes efe ini er gwaethaf y defnydd a wnaethom o hono; canys heb y rhyddid hwn ni allasem weithredu megis o honom ein hunain: offerynnau a fuasem yn llaw un arall, a gweithredoedd un arall a fuasai'n gweithredoedd. Y peth a ddewisom yn rhydd, hynny sy'n myned yn rhan o'n cymmeriad ac o honom ein hunain. Yn awr, ni allasem ddewis y da, oni buasai fod yn rhydd ini ddewis y drwg hefyd; a phe buasem wedi dewis y da yn lle'r drwg, gallasem ymddyrchafu i gyflwr uwch o lawer na'r cyflwr y'n crewyd ynddo. Ac yn wir, gallwn etto ymddyrchafu i gyflwr uwch na hwnnw, trwy yr hwn a'n carodd ac a'i dodes ei hun drosom. Fe'i danfonwyd ef i'r byd i adferu dŷn iddo'i hun, drwy roddi iddo drachefn ei fodolaeth ei hun. Dynion wedi peidio â bod yn ddynion—pethau, a phethau nid ydynt, yw pechaduriaid; ond y mae gan Dduw

drefn i wneyd y dim yn rhywbeth, a'r rhywbeth yn rhywun.—"Yr *ydym* ni o hono ef," hynny ydyw, yr ydym ni yn *bod* o hono ef yNghrist Iesu. Bellach, y ffordd i *fod* yn wirioneddol yn Nuw ydyw trwy fod yn ei Fab ef, Iesu Grist. Wrth fod yNghrist, byddwn yn bod ynghàlon Duw; byddwn yn trigo yn nirgelwch y Goruchaf; bydd ein bywyd wedi ei guddio gyd â Christ yn Nuw. Nid bod yn Nuw fel y mae pawb yn bod ynddo y byddwn ni mwyach, eithr bod ynddo fel y mae Crist yn bod ynddo.

Er hyn oll, y mae pawb yn bod yn Nuw yn yr ystyr sydd i'r gair "bod" yn y testyn; canys fel y dywedwyd o'r blaen, y mae efe, ac yntau yn anfeidrol, yn cynnwys pawb ac yn cynnal pawb. Pa ddylanwad y mae'r ystyriaeth hon yn ei gael ar ein hymddygiadau? Cofiwn nad Duw sy'n preswylio uwch law'r wybrennau, ac yn edrych arnom o bell, ydyw'n Duw ni, eithr Duw sydd ynom ac am danom. Pan bechom o'i flaen ac yn ei erbyn, yr ŷm yn pechu o'i fewn. Pa un bynnag ai duwiol ai annuwiol fyddom, yr ŷm yn byw, symmud ac yn bod ynghanol môr o Dduwdod; ac ni welwn byth na nef nac uffern y tu allan iddo ef.

## IV.

## DUW YN DEBYG AC YN ANNHEBYG I DDYN.

"*Hyn a wnaethost, a mi a dewais; tybiaist dithau fy mod yn gwbl fel ti dy hun; ond mi a'th argyhoeddaf, ac a'u trefnaf o flaen dy lygaid.*—SALM l. 21."

"HYN" o bethau; sef y drygau a enwyd yn y tair adnod o'r blaen.—"Y drygau hyn a wnaethost, a mi a dewais" —tewi trwy beidio a cheryddu yn wastadol, a thrwy beidio â chospi yn uniongyrchol.

Pe bâi Duw, fel Ymmerawdr yr Almaen, ac fel ambell feistr ac ambell fam, yn dwrdio yn ddibaid, fe gollai ei urddas a'i ddylanwad; a phe bâi yn cospi am bechod yn ddioed, ni chai dŷn ddim cyfle i edifarhau. O'r tu arall, "o herwydd na wneir barn yn erbyn gweithred ddrwg yn fuan, càlon plant dynion sy lawn ynddynt i wneuthur drwg." "Mi a dewais; tybiaist dithau, gan hynny, fy mod yn gwbl fel ti dy hun." Tybiaist fy mod fel tydi dy hun ym mhob peth—yn dy bethau gwaelaf fel yn dy bethau gorau: fel tydi dy hun yn dy syniad yscafn am bechod, ac yn dy anallu i gofio yn hir ac yn eglur y drygau a wnaethost, a'r drygau a wnaethpwyd yn dy erbyn. Nid yw dŷn yn cyfeiliorni wrth feddwl fod Duw fel efe ei hun mewn rhai pethau; cyfeiliorni y mae wrth feddwl fod Duw yn *gwbl* fel efe ei hun.

Y mae'r testyn felly yn awgrymmu dau wirionedd, sef, Fod Duw yn debyg i ddŷn, a bod Duw yn annhebyg i ddŷn.

I. *Duw yn debyg i ddyn.* Y mae Duw yn debyg i ddŷn am fod dŷn yn y dechreuad wedi ei wneuthur yn debyg i Dduw, neu, o'r lleiaf, wedi ei fwriadu i fod yn debyg iddo; canys yr ydys yn dywedyd mai ar lun a

delw Duw y crewyd dŷn, ac mai adnewyddu dŷn yn ôl delw yr hwn a'i creodd yw diben Duw yn nhrefn yr iachawdwriaeth. Er i Dduw greu dŷn yn uniawn, nid oedd modd iddo'i greu yn berffaith. Yr oedd yn rhaid i ddŷn ymestyn at berffeithrwydd yn gyttunol â deddf ei natur ei hun. Yr oedd yn rhaid iddo ymberffeithio mewn daioni trwy orchfygu temtasiynau, ac ymberffeithio mewn deall a gwybodaeth trwy sylwi ar y miloedd o betbau dieithr a oedd o'i fewn ac o'i amgylch. Wrth hir-ymwrandaw âg ef ei hun y gallai efe ymwybod â'i reswm, ei gydwybod, a'i ewyllys ei hun, ac â'i berthynas â phawb a phoppeth arall. Trwy barhau mewn cymmundeb â Duw y gallai adnabod Duw, a thrwy ymdroi ym mhlith anifeiliaid y maes y gallai wybod naturiaethau ac arferion y creaduriaid hynny. Dyscodd enwi pethau cyn medru dangos eu perthynas. Enwau oedd y rhannau cyntaf yn ei rammadeg; ac y mae yn debygol y bu efe yn hir ar y ddaear cyn dyfeisio berfau a rhagferfau, ac yn hŵy fyth cyn dyfeisio arddodiaid a chyssylltiaid. Yr oedd ei iaith o anghenraid yn cynnyddu yn ôl cynnydd ei wybodaeth. Ni allasai Duw *roddi* iaith a gwybodaeth iddo yn gyflawn ac ar unwaith, eithr yn unig roddi iddo gynneddfau a synhwyrau bywiog i ennill gwybodaeth ac i ddyscu iaith. Gan fod Adda yn ddŷn dibechod, y mae yn ddiammau ei fod ef yn gallu dyscu pob peth yn rhwyddach o lawer na dŷn pechadurus. Y mae pechod yn peri'r fath derfysc a dyryswch yn enaid dŷn fel y mae efe yn pylu hyd yn oed ei gynneddfau. Ni allwn ni, bechaduriaid, ddim synio am y cynnydd dirfawr a wnaeth dŷn dibechod yn y Baradwys ddaearol, nac am y cynnydd a wna'r cyfryw un yn y Baradwys nefol.

Er mai yn uniawn, ac nid yn berffaith, y gwnaeth Duw ddŷn; etto yr oedd dŷn yn ei uniondeb, sef yn ei gyflwr plentynnaidd ac ammherffaith, yn dwyn llawer o ddelw

ei Greawdr; a phe buasai efe, trwy barhau yn ei union-deb, wedi myned rhagddo at berffeithrwydd, aethai'r ddelw ddwyfol a oedd arno yn fwy ac yn amlyccach fyth. Am nad oedd efe wedi cyrraedd perffeithrwydd y darfu iddo gwympo, ac am hynny yr oedd yn ddichon-adwy iddo gwympo; canys fe ellir dywedyd am y dŷn neu'r angel a gyrhaeddodd y cyfryw berffeithrwydd ag y bwriadwyd iddo'i gyrraedd, yr un peth ag yr ydys yn ei ddywedyd am Dduw ei hun: "Ni ellir ei demtio â drygau." Yn y nef, y mae pob un mewn rhyw ystyr yn berffaith, sef mor berffaith fel nad oes perygl iddo bechu, er nad mor berffaith fel nad oes lle iddo gynnyddu yn dragwyddol ym mhob peth sy dda. Gall y Dnw mawr ddywedyd am y sant, "ym mhen mil o oesoedd maith." Rhaid yw iddo ef gynnyddu, am ei fod yn greadur meid-rol, a rhaid i minnau fod byth yr hyn ydwyf, am fy mod yn anfeidrol.

Dŷn wedi ei berffeithio, sef dŷn fel y bwriadwyd iddo fod, ac nid dŷn fel y'i crewyd, a all ddwyn mwyaf o ddelw yr Anfeidrol. Yr ydys yn dywedyd weithiau fod ambell blentyn yr un ffunud a'i dad; ac fe ddichon i lawer plentyn fod yn debyg i'w dad yn ffurf ei gorff, yngwedd ei wyneb, yn lliw a llun ei lygaid, a hyd yn oed yn ei dymmer; ond y mae yn annichon i blentyn fod yn debyg i'w dad yn y pethau sy'n perthyn yn fwyaf priodol i ŵr, sef ym maint a chryfder ei gorff, yn amryw-iaeth ei feddyliau a'i ewyllysiau, ac yn helaethrwydd ei iaith. Yr oedd Adda yn debyg i'w Greawdr mewn rhai pethau, ond yr oedd yn rhaid iddo wrth hir amser i ym-ddadblygu, tu ag at fod yn debyg i'w Greawdr mewn llawer o bethau; ac yn lle ymddadblygu, fe ddarfu iddo ef trwy bechu ymgrebachu. "Ffurf yr un oedd ar ddyfod"—braslun aneglur o Adda'r Ail, oedd yr Adda cyntaf; a phe buasai efe heb bechu, y mae yn debygol y gallasai gyrraedd ar y ddaear y perffeithrwydd a gyr-

haeddodd Iesu Grist arni. Bydd pob pechadur a adferir trwy ras ac a ddygir i ogoniant, yn ffurf lawnach ac eglurach o'r Iesu nag oedd Adda; am y bydd efe, neu o leiaf, am y bydd yr holl saint ynghyd, "yn ŵr perffaith, at fesur oedran, neu at fesur maintioli, cyflawnder Crist."

Ond nid yn y dŷn a grewyd yn uniawn, nac yn y dŷn a adferwyd trwy ras, nac yn y dŷn a berffeithir mewn gogoniant—nid ynddynt hwy yn unig y gellir gweled delw y Duw anweledig. Y mae olion y ddelw hon ar bob dŷn; canys pe buasai hi wedi ei llwyr ddilèu, cam âg iaith fuasai dywedyd fod modd ei hadferu. Pa beth bynnag a adferer neu a adnewydder, y mae yn *rhaid* fod hwnnw yn bod, mewn cyflwr mwy neu lai dirywiedig. Dyweder nad yw dŷn mwyach yn uniawn a santaidd; er hynny, cofier nad cythraul mono. Dyweder fod ei ddeall wedi tywyllu; er hynny, cofier fod ganddo etto y cyfryw ddeall ag nad oes ei gyffelyb gan un creadur arall ar y ddaear. Dyweder fod ei gydwybod yn ddrwg; ond cofier fod yn dda iddo wrth y gydwybod sy ganddo. Dyweder fod ei gàlon yn aflan, ond cofier ei bod yn ddigon helaeth i fod yn deml i'r Yspryd Glân. Os nad yw dynion syrthiedig yn gyfrannogion o'r ddwyfol anian, y maent etto hyd ryw fesur yn gyfrannogion o'r ddwyfol ddelw. Os nad ŷnt mwyach yn blant da, y maent o hyd yn blant; a gall plant annhebyg i'w tad, o ran cymmeriad, fod yn debyg iddo o ran natur ac o ran cynneddfau. Gwyddom fod y ddaear yn felldigedig o achos dŷn; ac efallai nad yw goleuni'r haul mor fwyn, nac wyneb y nef mor siriol i lygaid pechadur ag oeddynt i lygaid Adda cyn ei gwymp. Er hynny, gwyddom fod y nefoedd yn parhau i ddadgan gogoniant Duw, a bod y ffurfafen o hyd yn mynegi gwaith ei ddwylaw ef, a bod ei dragwyddol allu a'i Dduwdod yn amlwg ar y ddaear, ac ym mhob peth a welir. Ond i bwy y mae'r nefoedd a'r ddaear yn traethu eu chwedl? I bwy y mae'r tragwydd-

ol allu a'r Duwdod yn amlwg? I ddŷn—i ddŷn fel y mae; i ddŷn yn ei drueni fel yn ei ddiniweidrwydd; i ddŷn na chlywodd mo'r efengyl fel i'r dŷn a'i clywodd; i ddŷn ym mhob cyflwr, ym mhob gwlad, ac ym mhob oes. I ddŷn, meddaf; ond nid i'w lygaid naturiol chwaith, nac i nebun arall o'i synhwyrau, eithr i'w feddwl—meddwl sy'n gallu dehongli'r greadigaeth, am ei fod yn feddwl cyffelyb i feddwl Duw. Felly, y mae yn amlwg fod dŷn yn gallu canfod arwyddion o ddwyfoldeb yn y greadigaeth, am fod olion dwyfoldeb ar ei feddwl ef ei hun. Y mae yn gweled Duw oddi allan iddo, am fod Duw o'i fewn.

Buasai yn annichon i ddynion synio am Dduw, pe na buasent mewn rhyw bethau, a hyd ryw fesur, yn debyg i Dduw; a phe na buasai Duw mewn rhyw bethau yn debyg i ninnau. Ni fuasai gennym, ar wahân i ddadguddiad, ddim gwybodaeth am briodoliaethau Duw, pe na buasem ni ein hunain yn gyfrannogion o rai o honynt. Onid am fod rhai dynion yn alluog yr ŷm yn casclu fod eu Creawdr yn hollalluog? Onid am fod rhai dynion yn wybodus yr ŷm yn casclu fod Duw yn hollwybodus? ac onid am fod peth daioni mewn dynion yr ŷm yn penderfynu fod Duw yn anfeidrol dda? Onid oddi wrth garedigrwydd tadau naturiol tu ag at eu plant y mae'r Iesu ei hun yn ei bregeth ar y mynydd yn profi caredigrwydd helaethach Tad yr ysprydoedd tuag at ei blant ef?—"Os chwychwi, a chwi yn ddrwg, a fedrwch roddi rhoddion da i'ch plant, pa faint mwy y rhydd eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd bethau da i'r rhai a ofynnant iddo? Yn wir, bron na ellir dyweyd nad yw'r syniad sy gennym am natur a phriodoleddau Duw yn ddim amgen na'r syniad sy gennym am ein natur a'n priodoleddau'n hunain, wedi eu puro a'u dyrchafu hyd derfyn eithaf ein dychymmyg. Ac er na allwn amgyffred anfeidroldeb, fe allwn synio am dano; ac y mae'n bod

yn gallu synio am y fath beth yn dangos fod gennym anghenion a dymuniadau nad oes ond bod annherfynol a ddichon eu llenwi; a bod gennym gynneddfau a fydd yn cynnyddu mewn hyd a lled, mewn uchder a dyfnder, dros oesoedd diderfyn tragwyddoldeb. Er nad ydym yn awr, ac na byddwn byth, yn anfeidrol, etto, y mae cyscod anfeidroldeb ar ein henaid; pe amgen, ni allai dim perthynas na chymmundeb fod rhyngom a'r Anfeidrol Dduw.

Ond hyn yma, yn fwy na dim a ddywedwyd, sy'n profi fod Duw yn debyg i ddynion: sef mai Duw ydyw eu Tad. Ac nid gwirionedd efengylaidd yn unig ydyw'r gwirionedd fod Duw yn Dad i ni: y mae yn wirionedd Iddewaidd ac yn wirionedd paganaidd hefyd; yr hyn sydd yr un peth a dywedyd ei fod yn wirionedd cyffredinol. Ac am hynny, fe ddarfu i apostol y Cenedloedd, wrth bregethu i baganiaid dyscedig Athen, ddwyn ar gof iddynt fod un o'u beirdd hwy eu hunain yn tystiolaethu fod dynion yn hiliogaeth Duw; ac wrth ddywedyd eu bod yn hiliogaeth Duw, yr oedd y bardd hwn, ac aml fardd paganaidd arall, yn rhoi ar ddeall eu bod yn blant Duw, ac nid yn greaduriaid iddo yn unig. Y mae'r goeden, a'r adar sy'n nythu arni, a'r gwartheg sy'n ymgyscodi dani, yn greaduriaid Duw; ond nid ŷnt hwy yn hiliogaeth Duw, yn blant iddo. Creaduriaid heb yspryd ŷnt hwy, a Thad yr ysprydoedd yn unig yw Duw. Ond y mae yspryd mewn dŷn, ac ysprydoliaeth yr Hollalluog sy'n peri i ddynion ddeall. Gan fod yspryd mewn dŷn, ac mai yspryd yw Duw, y mae yn rhaid fod perthynas ysprydol rhyngddynt a'u gilydd; ac y mae'r berthynas ysprydol hon yn sail i gymmundeb ysprydol. Gan mai Duw yw Tad yr ysprydoedd, yna y mae yn rhaid fod yr Yspryd a genedlodd a'r yspryd a genedlwyd mewn rhyw bethau yn debyg i'w gilydd.

Trwy ei gwymp, aeth dŷn yn annhebyg i Dduw yn ei sancteiddrwydd, ond y mae etto yn debyg i Dduw yn ei allu ac yn ei awdurdod. Y mae efe etto yn arglwyddiaethu ar yr anifeiliaid. Y mae efe etto yn gallu darostwng y ddaear yn ei mwnau a'i llysiau, yn ei hawyr, ei dwfr, ei thân a'i thrydan. Dŷn, er ei ised, yw uchder llwch y byd, yn ei ddeall ac yn ei fedr. Efe fyth ydyw rhaglaw Duw ar y ddaear. Efe a ordeiniwyd yn archoffeiriad i gyflwyno i'r Creawdr offrwm diolch y greadigaeth ddireswm. Efe yw'r lladmerydd sy'n cyfieithu iaith floesc y creaduriaid i iaith hyspys a chroew. Efe yw'r bardd sy'n eilio cân i alaw yr eos, i furmur y gwenyn ac i fwmbwr y môr. Efe yw'r cerddor sy'n cyddrefnu holl leisiau cymmyscedig y greadigaeth yn un caniad newydd o foliant i'n Duw ni. Ar air, efe yw cydwybod natur—y creadur y mae natur yn llefaru wrtho a thrwyddo. Y mae'r adar yn canu yn beraidd, ond ni wyddant hwy ddim i bwy y maent yn canu. Y mae coed y maes yn curo dwylaw yn orfoleddus, pan y bo'r gwynt chwareus yn goglais eu breichiau; ond ni wyddant hwy ddim i bwy y maent yn curo dwylaw. O holl greaduriaid y ddaear, dŷn yn unig a fedr feddwl am Dduw, am mai efe yn unig a wnaed ar ddelw Duw.

II. *Duw yn annhebyg i ddyn.* Y mae yn annhebyg i ddŷn, yn y lle blaenaf, am nad oes iddo gorff, ac nad oes iddo, gan hynny, ddim synhwyrau na nwydau corfforol. Ys gwir fod yn sôn yn y Bibl, yn enwedig yn y llyfrau hynaf, am wyneb a llygaid a genau Duw; am ei fraich, a'i law a'i fys; am ei fynwes, ei gàlon a'i ymyscaroedd. Yr ydys yn dywedyd ei fod yn gweled, yn clywed ac yn arogli; yn llefaru, yn rhodio ac yn gorphwyso; ïe, yr ydys yn dywedyd ddarfod i Dduw greu dŷn nid yn unig ar ei ddelw ei hun, ond hefyd ar ei lun ei hun; yr hyn

sy wedi peri i lawer feddwl fod i Dduw ryw ffurf gorfforol, er nad oes iddo gorff o gnawd ac escyrn. Er hyn oll, dylai syniad dŷn am Dduw fod yn gywirach na'r iaith y rhaid iddo lefaru ynddi am Dduw. Yn ieuengctid y byd, ystyr anianol oedd i eiriau; ac am hynny, yr oedd yn anawdd i Dduw, trwy gyfrwng iaith anianol, ddyscu dynion yn ebrwydd i synio yn ysprydol am dano ef ei hun. Pe dywedesid wrthynt mor fore ag amser Enoch neu Noa neu Abram, mai yspryd yw Duw, ni fuasai hynny yn fawr o gymmorth iddynt i synio yn fwy ysprydol am Dduw; am nad oedd y gair *yspryd* y pryd hwnnw yn arwyddo dim amgen nag anadl neu ffun einioes. Erbyn hyn y mae i'r gair *yspryd* ystyr uwch a mwy pennodol; yr hyn beth sy'n ein galluogi ni i synio yn gywirach ac yn fwy ysprydol am Dduw nag yr oedd y patriarchiaid yn synio am dano.—"Yn gyntaf yr anianol, ac wedi hynny yr ysprydol"; dyna y rheol yn hanes iaith, fel yn hanes pob peth arall. Er fod y Gymraeg a'r Ellmynneg yn ieithoedd mwy manwl ac athronyddol o lawer na'r hên Hebraeg, etto nid ŷnt hwythau yn ieithoedd digon perffaith i'n galluogi i lefaru fel y dylem am Dduw ac am bethau yr yspryd. Y mae llawer o'r anianol yn glynu wrth bob iaith ddaearol. Y saint y sy'n llefaru "iaith Canaan," sef y Ganaan nefol, a ddichon lefaru yn ysprydol am bethau ysprydol. Ond er fod yn oddefol ini etto arferu hên ddull plentynnaidd a barddonol yr Hebreaid o lefaru, etto ceisiwn feddwl yn fwy dynol nag yr oeddynt hwy yn meddwl. Wrth ddywedyd fod Duw yn gweled, yn clywed ac yn arogli, gwyliwn rhag meddwl fod ganddo lygaid a chlustiau a ffroenau. Wrth ddywedyd ei fod yn meddwl, gwyliwn rhag tybied fod ganddo ymmennydd; ac wrth ddywedyd ei fod yn caru, ymogelwn rhag meddwl fod ganddo gàlon; canys wrth synio felly am dano, tybied a wnawn fod Duw yn gwbl fel nyni ein hunain. Yspryd yw Duw;

ac er na wyddom yn iawn pa beth ydyw yspryd, gwyddom ei fod yn rhywbeth amgenach na matter.

Ond hyd yn oed wrth synio am Dduw fel yspryd, gallwn gamsynio am dano, trwy dybied ei fod yn yspryd terfynedig fel yspryd dŷn. Y mae yn ddiau fod yn iawn ini, pan weddïom, ddywedyd, "Ein Tad, yr hwn sydd yn y nefoedd," am mai yn y nefoedd y mae Duw yn ymddangos amlyccaf; ond os ŷm wrth hynny yn meddwl mai yn y nefoedd yn unig y mae efe yn bod, yna yr ŷm yn cyfeiliorni. Nid y nef sy'n cynnwys Duw: efe yn hytrach sy'n cynnwys y nef, a'r holl greadigaeth hefyd; am hynny y dywedodd Solomon, "Wele, y nefoedd, a nefoedd y nefoedd, ni allant dy gynnwys di." Nid gwiw dywedyd am Dduw, Wele yma, ac wele accw; canys y mae efe yma ac accw. Nid gwiw dywedyd, Wele ran o hono yma, ac wele ran o hono accw; canys y mae efe i gyd oll ym mhob man, a hynny ar yr un pryd. Ei bresennoldeb ef sy'n rhoddi i'r greadigaeth ei bod; ei ewyllys ef sy'n rhoddi iddi ei deddf a'i grym; ei ddoethineb ef sy'n rhoddi iddi ei threfn, a'i ddaioni ef sy'n rhoddi iddi ei thegwch.

Wrth ddywedyd nad yw'r nefoedd a'r ddaear, sef yr holl greadigaeth, ddim yn cynnwys Duw, yr ŵyf yn awgrymmu hefyd nad yw amser a lle ddim yn ei gynnwys; canys pan y crewyd y byd y rhoddwyd bod i amser a lle. Am fod dau neu chwaneg o ddigwyddiadau yn dilyn eu gilydd yr wyf fi yn gallu synio am amser. Am fod dau neu chwaneg o sylweddau yn y gwagder diderfyn yr ŵyf yn gallu synio am le. Y mae rhannau a therfynau i Dduw; am ei fod ef yn anfeidrol. Gan ei fod yn anfeidrol, y mae mewn amser ac mewn lle, ond y mae hefyd uwch law amser a lle. Nid rhan o dragwyddoldeb ydyw amser, ac nid rhan o anfeidroldeb ydyw lle, eithr pethau cwbl wahanol i'r naill a'r llall.

Nid mewn gradd y mae'r tragwyddol yn wahanol i amser, ac nid mewn gradd y mae'r anfeidrol yn wahanol i'r meidrol, eithr mewn natur. Y mae amser a lle yn rhannadwy, ond y mae tragwyddoldeb ac anfeidroldeb yn anrhannadwy; am eu bod hwy yn bethau perffaith. Pe buasai oesoedd aneirif yn rhan o dragwyddoldeb, buasai y rhan honno naill ai yn fwyhad neu ynte yn lleihad ar dragwyddoldeb Duw. Pe buasai bydoedd aneirif yn rhan o anfeidroldeb, buasai y rhan honno naill ai yn fwyhad neu ynte yn lleihad ar anfeidroldeb Duw; yr hyn sy'n afresymmol. Nid casgl fawr o bethau meidrol ydyw anfeidroldeb; pe felly, bod meidrol a fuasai Duw ei hun. Ond y mae Duw yn *an*feidrol; am hynny, ni all neb na dim arall fod yn anfeidrol. Y mae Duw yn dragwyddol; am hynny, ni all neb na dim arall fod yn dragwyddol. Er fod Carlyle yn sôn byth a hefyd yn ei lyfrau am "anfeidroldebau" a "thragwyddoldebau," ni raid wrth feddwl athronyddol iawn i ddeall na ddichon fod mwy nag un anfeidroldeb, a mwy nag un tragwyddoldeb. Duw yn unig sydd anfeidrol; ac am mai meidrol yw pawb a phoppeth arall y gallodd efe eu creu. Ni allasai'r Anfeidrol greu rhywbeth anfeidrol arall.

Yn awr, gan nad yw'r Creawdr yn ddarostyngedig i amser a lle, y mae yn canlyn nad yw efe yn meddwl fel y mae ei greaduriaid yn meddwl, nac yn teimlo fel y maent hwy yn teimlo, nac yn ewyllysio fel y maent hwy yn ewyllysio. Os yw yn briodol ini ddywedyd fod yr Anfeidrol yn meddwl o gwbl, yn sicr nid yw yn briodol ini ddywedyd ei fod yn ymresymmu, yn barnu, yn myfyrio ac yn dychmygu; canys gweithrediadau meddwl meidrol yw'r pethau hyn. Nid yw yn briodol ini ddywedyd ei fod yn meddwl heddyw yr hyn nad oedd yn ei feddwl ddoe, a'r hyn na bydd yn ei feddwl byth. Hyd yn oed wrth arferu iaith ffugrol, ni ddylem *synio* ei fod yn cynllunio, ac yn ymgynghori âg ef ei hun;

canys wrth hynny priodolem i Dduw y gwendid sy'n perthyn i ddynion, pan y byddont yn methu â gweled eu ffordd yn eglur ac yn ebrwydd. Ni ddylem synio ei fod ef yn rhagweled nac yn cofio; canys wrth hynny yr ŷm yn ei wneyd yn greadur amser. Os yw yn briodol ini ddywedyd fod y Duw digyfnewid yn teimlo, ni ddylem dybied ei fod yn caàsu, yn digio, yn tristàu, nac yn edifarhau; canys teimladau a nwydau dŷn cyfnewidiol yw'r pethau hyn. Er hynny, y mae yn iawn ini ddywedyd ei fod yn caru; o blegid "Duw, cariad yw." Y mae caru, gan hynny, yn rhywbeth cyttunol â natur Duw. Y mae yn wir fod yn dywedyd yn y Bibl fod Duw yn casàu ac yn tristàu, ond yr ydys yn llefaru am dano yn y dull dynol hwn, yn unig er mwyn rhoi ar ddeall fod pob drwg yn beth croes i'w natur ef. Yr ydys hefyd yn dywedyd ei fod weithiau yn edifarhau, nid am ei fod ef yn newid ei feddwl un amser, eithr am y rhaid i bechadur newid ei ffordd er mwyn bod yn gymmeradwy ganddo. Pan dybio dŷn fod Duw yn troi ei wyneb atto ef, efe mewn gwirionedd sy'n troi ei wyneb at Dduw. Nid yr hyn sy'n ymddangos i ddŷn sy bob amser yn bod mewn gwirionedd. Y mae yn ymddangos iddo mai'r haul sy'n troi o amgylch y ddaear; a chan mai hynny sy'n ymddangos i bawb, nid yw yn ammhriodol dywedyd fod yr haul yn codi ac yn machlud bob dydd; er hynny, byddai yn ammhriodol iawn i neb *feddwl* mai'r haul, ac nid y ddaear, sy'n troi. Yr un ffunud, y mae yn ymddangos i'r cyffredin fod Duw yn edifarhau; ei fod yn ddig ddoe ac yn ddiddig heddyw; yn drist gynnau ac yn llawen yr awron; ond nid yw fod hynny yn ymddangos yn profi fod hynny yn bod. Os rhaid yw, parhawn i lefaru am bethau fel y maent yn bod. Gochelwn rhag gwneyd barddoniaeth y Bibl yn ddiwinyddiaeth, a rhag troi ei ffugrau yn ffeithiau.

Dehonglwn ei ymadroddion ffugrol wrth olau ymadroddion syml ac eglur o'r fath yma: "Nid dŷn yw Duw i ddywedyd celwydd, na mab dŷn i edifarhau." "Os ŷm ni heb gredu; hynny ydyw, os ŷm ni yn anffyddlon, y mae efe yn aros yn ffyddlon;" "Tad y goleuni, gyd â'r hwn nid oes gyfnewidiad na chyscod troedigaeth." Y mae Duw felly yn annhebyg i ddŷn, am ei fod yn ddigyfnewid, ac y mae yn ddigyfnewid am ei fod yn dragwyddol, sef uwch law amser. "Cyfnewid y mae dŷn; tröedig yw eriôed," medd y bardd; ac y mae felly am ei fod yn greadur amser. Ie, cyfnewid a wna dŷn byth, er gwell neu er gwaeth. Y mae mawredd dŷn yn gynnwysedig yn ei allu i fyned rhagddo yn ddiddiwedd. Y mae Duw yn fawr, am ei fod yn aros yn ei berffeithrwydd o dragwyddoldeb i dragwyddoldeb.

Y mae lle i ofni fod llawer dŷn yn tybied fod Duw yn gwbl fel efe ei hun, am ei fod wedi ei ddyscu fod Duw yn berson, ac yntau wedi arfer synio am berson fel bod y sydd o angenrhaid yn derfynedig. Y mae i bob person a welodd efe ffurf, ac i bob ffurf derfynau; ac am hynny, y mae yn anawdd ganddo ddychmygu, chweithach synio, am fod annherfynol. Ac yn wir, nid ydys yn dywedyd yn y Bibl fod Duw yn berson; canys y mae pawb bellach yn cydfarnu mai *sylwedd*, ac nid "person," a ddylasai fod yn yr ymadrodd "gwir lun ei berson ef," yn y llythyr at yr Hebreaid. Gair diwinyddol, ac nid scrythyrol, yw *person;* ac i lawer, y mae'r gair yn fwy o rwystr nag o gymmorth i synio am natur Duw. Yr ydys yn galw Duw yn berson, nid er mwyn dangos beth ydyw Duw, eithr er mwyn dangos beth nad yw, sef er mwyn dangos nad matter anymwybodol yw. Ni ddylai'r gair person fod yn faen tramgwydd i neb, cyhyd ag y bydder yn arfer y gair i ddynodi bod yn ymwybod âg ef ei hun. Fel anfeidrol a thragwyddol Fod; fel Bod hollwybodol, hollalluog, a hollol dda yr ydys yn darlunio Duw yn y

Bibl. Fel mai'r enw Tad sy'n arddangos orau berthynas Duw â dynion, felly "Ydwyf yr hwn ydwyf" sy'n arddangos orau beth ydyw Duw ynddo'i hun. "Fel hyn yr adroddi wrth feibion Israel," ebe Duw wrth Moesen, "Ydwyf a'm hanfonodd attoch." Dyro ar ddeall iddynt mai myfi yw'r unig fod sy'n bod o hono'i hun, yn bod o anghenraid, ac yn bod mewn gwirionedd. Na alw fi yn Oeddwn; canys y mae oeddwn yn golygu amser a aeth heibio. Na alw fi chwaith yn Byddaf; canys y mae byddaf yn golygu amser i ddyfod. Galw fi yn Ydwyf. Yn y presennol tragwyddol yr ŵyf fi yn bod. Nid oes i mi dragwyddoldeb o'm hôl, a thragwyddoldeb o'm blaen. Nid oddi rhwng tragwyddoldeb diddechreu a thragwyddoldeb diddiwedd yr ŵyf fi yn ymddangos iti ac yn llefaru wrthyt. Fel nad oes i'm tragwyddoldeb na dechrau na diwedd, felly nid oes iddo ganol chwaith. Yr awr hon yr ŵyt ti yn *clywed* y gair Ydwyf, am mai mewn amser y gelli di glywed; ond yr ŵyf fi yn *dywedyd* Ydwyf yn dragwyddol, am fy mod yn meddwl yn dragwyddol, ac am nad yw'r naill beth yn dilyn y llall yn fy meddwl i. Ni elli di ddywedyd *ydwyf* am danat dy hun; canys y mae dy einioes fel afon yr Iorddonen, yn llifo yn chwyrn ac yn ddiorphwys i'r Môr Marw, tra yr ŵyf fi yn aros yn sefydlog fel y bryniau sydd o ddeutu'r afon. Nid ydwyt ti heddyw yr hyn a oeddet ddoe ac a fyddi yfory; ac yr ŵyt yn symmud mor gyflym o'r ddoe i'r yfory, fel y mae dy heddyw yn llithro rhwng dy fysedd, cyn iti gael llawn afael arno. Ond i mi nid oes na heddyw na doe nac yfory. Nid mewn amser yr ŵyf fi yn bod, ac nid mewn amser yr ŵyf fi yn meddwl. Nid ŵyf fi, y Creawdr, yn byw ar yr un gwastad a'm creadur. Y goruchel a'r dyrchafedig ŵyf fi, yr hwn sy'n preswylio tragwyddoldeb. Os gofyn rhywrai pa beth yw fy enw, dywed wrthynt, Ydwyf, Ydwyf, Ydwyf, a dim ychwaneg. Os gofyn rhywrai pa fath

un ydwyf, dywed dithau eilwaith, Ydwyf; sef yr hwn sydd. Wrth ddywedyd hynny, dywedi bob peth a ellir ei ddywedyd.

Pan y dywedodd Duw Ydwyf wrth Moesen, dadguddiodd efe bethau rhyfedd am ei natur; er hynny, y mae'r dadguddiad hwnnw, fel pob dadguddiad arall, yn ein gadael o hyd mewn tywyllwch mawr. Ni allai Duw na thrwy Moesen na thrwy ei Fab roddi dadguddiad llawn ac eglur o hono'i hun i ddynion; a hynny am y rheswm amlwg na all bodau meidrol ddim derbyn dadguddiad cyflawn am y Bod anfeidrol, ac nad yw eu hiaith hwy yn ddigon perffaith i gyflwyno'r fath ddadguddiad. I ni, y mae Duw o hyd yn Dduw na ellir ei amgyffred, nid am ei fod mwyach yn trigo yn y tywyllwch, eithr am ei fod yn trigo yn y goleuni ni ellir dyfod atto.

Ond er na allwn amgyffred Duw, yr ŷm yn synio yn gywir am dano wrth ymwybod â'n hanallu i'w amgyffred; canys duw meidrol, dynol, a fyddai duw y gallem ei amgyffred. A phe tebygem fod Duw yn feidrol, tybied a wnaem ei fod yn gwbl fel nyni ein hunain. Wrth addoli Duw meidrol, amgyffredadwy, addoli eilun y byddem, neu yn hytrach addoli delw o honom ein hunain, ac nid addoli'r gwir Dduw; ac arweiniai camsyniad am natur Duw i gamsyniad am ddeddf Duw, am bechod, am gyflog pechod, ac am ein rhwymedigaeth ni ein hunain.

Yn y testyn yr ydys yn dangos fod pechadur yn camsynio am natur Duw, o achos ei fod yn camddeall ymddygiadau Duw tuag atto.—"Y drygau hyn a wnaethost, a mi a dewais; tybiaist dithau, o achos fy mod yn tewi, fy mod yn gwbl fel ti dy hun." Am fy mod yn rhy urddasol i'th geryddu yn barhaus, ac yn rhy drugarog i'th gospi yn ddioed, yr ŵyt ti yn tybied nad ŵyf yn bwriadu cospi; yr ŵyt yn tybied fod dy bechodau mor ddibwys yn fy ngolwg i ag ydynt yn dy olwg dithau, a

bod mor hawdd gennyf eu hanghofio ag ydyw gennyt tithau eu hanghofio; ond na thwyller di; yn y man "mi a'th argyhoeddaf"; paraf iti edrych ar dy bechodau fel yr ŵyf fi yn edrych arnynt,—"mi a'u trefnaf o flaen dy lygaid." Pechaist ti yn annhrefnus ddigon, gan fwrw dy feiau blith-draphlith i fedd angof; ond myfi a'u hadgyfodaf o'r bedd hwnnw, ac a'u dosparthaf yn finteioedd, yn ôl eu math, eu maint a'u lliw. Ar ôl eu trefnu, rhof orchymmyn iddynt i gychwyn yn un fyddin fawr yn dy erbyn; a gwae di, pan ddelont ar dy warthaf. Yr ŵyt ti yn awr yn pechu, a Duw yn tewi; ond tewi y mae am ei fod yn trefnu ei fyddin, draw. Pe gogwyddet dy glust i wrandaw, buan y clywet sŵn traed dy hên bechodau yn cerdded tu ag attat. Ac os na elli glywed dy elynion, oni weli di hwynt, megys prennau yn rhodio, yn y pellder? Oni weli di'r llwch yn ymgodi oddi ar ffordd distryw, ynglyn cyscod angau, tu a gororau niwlog tragwyddoldeb? Oni weli di fanerau yn ymchwyfio, a chleddyfau yn discleirio, ac ambell fagnel yn brytheirio tân? Y mae'r Philistiaid arnat ti, Samson! Y mae Dalila wedi troi yn ffals! Y mae dy anwyl bechodau wedi myned yn elynion! A raid i Dduw fod yn elyn iti, er mwyn dy boeni? A raid iddo ef dy gospi, er mwyn peri i ti ochain? A raid wrth dân a brwmstan i wneyd dy uffern yn boeth? Na raid ddim Yr ŵyt, trwy bechu, yn trysori i ti dy hun ddigofaint. Yr ŵyt yn dwyn y sarff a'th frath, a'r tàn a'th lysc, yn dy fynwes dy hun. Pa beth yw discyn i uffern amgen na myned i lawr, i lawr, i ddyfnderoedd dy gof a'th gydwybod dy hun? Pa beth yw bod yn uffern amgen na bod byth ynghymdeithas dy hên feddyliau a'th hen weithredoedd? A rhaffau ei bechod ei hun y dèlir yr annuwiol. I'r pwll a gloddiodd ei hun y syrth efe. Y *mae* Duw yn cospi, yn wir; ond cospi y mae efe trwy adael i natur gymmeryd ei ffordd.—"Chwant, wedi ymddŵyn, a escor

ar bechod; pechod hefyd, pan orphenner, a escor ar farwolaeth." Pa beth sy'n fwy cyttunol â threfn natur na hynny?

"Ond y mae natur yn drugarog," medd rhywun, "canys er imi yfed yn anghymmedrol yn y gyfeddach, neithiwr, yr ŵyf mor fyw heddyw ag oeddwn ddoe. Y mae yn wir fod gennyf dippyn o gur yn fy mhen yn y bore, ond y mae hwnnw erbyn hyn wedi cilio ymaith." "Gwneuthum, yn ddiau, gam â'm cymmydog wythnos yn ôl," ebe rhywun arall, "a pharodd hynny ychydig o boen meddwl imi am ryw dridiau; ond yr ŵyf bellach yn bur dawel.—Y mae natur yn tewi, ac ym mhen amser yn anghofio." Ydyw, y mae hi fel Duw yn tewi, ond y mae yn rhy fuan iti ddywedyd ei bod yn anghofio, dim. Tydi sy'n anghofio; ac am dy fod di yn anghofio yr ŵyt yn tybied fod natur, a bod Duw hefyd, yn anghofio. Gan fod un peth yn gyrru allan beth arall o'th feddwl bychan di, yr ŵyt yn tybied fod cynnifer o bethau yn rhedeg trwy feddwl Duw, fel y mae'r pechodau a wnaethost y flwyddyn o'r blaen wedi myned yn fychain, os nad yn ddim yn ei olwg, erbyn y flwyddyn hon. Yr ŵyt yn tybied fod amser ac amgylchiadau yn effeithio ar Dduw fel y maent yn effeithio arnat ti. Yr ŵyt yn tybied dy fod yn well dŷn nag ydwyt, am fod mor hawdd gennyt anghofio. Odid na throseddodd rhywun yn dy erbyn; ac er na faddeuaist iddo byth, etto cymmodaist âg ef ym mhen hir amser; am dy fod wedi blino yn cofio'i drosedd, ac am fod arnat eisiau lle yn dy feddwl i gofio trosedd diweddarach, a wnaeth rhywun arall yn dy erbyn. Yr ŵyt tithau, gan hynny, pan yn pechu dy hun, yn tybied fod Duw yn debyg iti, trwy dybied y gall efe anghofio troseddau, a chymmodi â'r troseddwr, heb fod wedi maddau iddo; ac am hynny y diengi byth gan dy Farnwr o achos gwendid ei gof. Fy nghyd-bechadur, y mae Duw yn cofio, er ei fod yn tewi; a chofi

dithau yn well, pan y cei hamdden i ddarllen, yngolau'r byd tragwyddol, y pethau a scrifennwyd ar barwydydd dy gydwybod. Ni pheidiodd dy bechodau â bod, pan y bwriaist ti hwynt allan o'th feddwl. Y mae y rhai amlyccaf o honynt, yr awr hon, yn cerdded o'th flaen tu a'r farn, a'r rhai dirgelaf o honynt yn cerdded yn arafach o'th ôl; ond fe saif y fyddin flaen a'r fyddin ôl ger dy fron yn y man cyfarfod. "Cyfarfyddaf â thi etto ar wastadedd Philippi," meddai yspryd Iŵl Cesar wrth ei leiddiad, Brutus. Tydi sydd heb Dduw ac heb Grist, y mae dy hên bechodau, fel ysprydion, yn ymdroi o hyd o'th amgylch; ac y mae yn rhyfedd iawn gen' i, os na chlywaist hwynt rywbryd yn nhrymder y nos yn sibrwd yn dy glust: "Cawn weled ein gilydd etto ar faes y farn."

"O," medd rhywun, "onid oes gan Dduw drefn i wahanu pechadur oddi wrth ei bechodau? Oni all efe faddau yn gystal a chospi? Oni all efe, trwy nerth ei ewyllys, droi ei olwg oddi wrth fy anwiredd, a'i anghofio, os ŵyf fi yn ei gofio mewn edifeirwch?" Gall yn wir; onid e, byddai gan y dŷn glanaf ar y ddaear achos i lefain: "Os creffi ar anwireddau, Arglwydd, ô Arglwydd, pwy a saif?" Och! ni safaf fi ddim. A sefwch chwi? a chwithau? "Os creffi ar anwireddau, ô Arglwydd, pwy, *pwy* a saif? ond"—diolch am "ond" i dorri'r garw; diolch am "ond" i chwalu'r ofn—"*ond* y mae gyd â thi faddeuant."

> **Maddeuant! ô maddeuant!**
> **Maddeuant cyfan, rhad,**
> **Yw'r cyntaf peth a geisiaf**
> **Yr awron yn y gwaed.**

A ddywedais i fod Duw yn tewi?—dyma waed sy'n *llefain*, ac yn dywedyd pethau gwell na'r eiddo Abel; a thra bo hwn yn llefain, y mae yn rhydd i'r Duw sy'n tewi dros amser, dewi dros byth.

Y Duw tragwyddol, anfarwol, anweledig, diolch iti am Dduw yn y cnawd: am Berson a allodd ddioddef, ac a fu yn ewyllysgar i ddioddef hyd at waed er mwyn dilèu ein holl bechodau ni. Er ei fwyn ef, dyro ini faddeuant; ond boed hwnnw yn faddeuant fel y'th ofner: yn faddeuant a'n cadwo rhag pechu pan y byddi di yn tewi: rhag bod yn rhyfygus pan y byddi di yn ymarhous. Amen.

## V.

## ISSI.

"*Y dydd hwnnw, medd yr Arglwydd, y'm gelwi Issi, ac ni'm gelwi mwyach Baali.*"—HOSEA ii. 16.

"FY ARGLWYDD," neu "fy Meistr," yw meddwl yr enw Baali; ac yr oedd Baal neu Arglwydd yn enw cyffredin ar Dduw ym mhlith llawer o genedloedd y Dwyrain. Yr oedd y naill hanner o'r Israeliaid yn amser y Barnwyr, yn amser y Brenhinoedd, os nad yn amser Moesen hefyd, yn addoli Baal y Cenedloedd a oedd o'u hamgylch, ac yr oedd hyd yn oed yr Israeliaid nad oeddynt yn addoli Baal y Cenedloedd yn addoli Duw Israel, sef Iafe, dan yr enw Baal. Buasai hyn yn amlwg i Gymro uniaith, pe na buasai'r enw Baal wedi ei Gymreigio weithiau yn y Bibl Cymraeg. Er fod Baal, felly, yn enw cyffredin ar Dduw, ac yn enw digon cyfaddas hefyd ynddo'i hun, etto, gan fod y Pheniciaid a'r Philistiaid a'r Edomiaid a'r Assyriaid a chenedloedd eraill, wedi rhoi i'r enw cyffredinol hwn ystyr neillduol, trwy ei arferu fel enw priod ar eu duw hwy eu hunain, yr oedd yn ddigon naturiol i Israeliad brwd fel Hosea ddiflasu ar yr enw ei hun; ac am hynny, y mae efe, yn enw'r Arglwydd, yn dywedyd am wladwriaeth Israel yn yr adnod nesaf i'r testyn: "Bwriaf enwau Baalim allan o'i genau hi, ac ni's coffeir hwy mwyach wrth eu henwau."

Gan fod yr enw Baal wedi myned erbyn hyn yn enw cyffredin ar ddau dduw oedd mewn amryw bethau yn wahanol i'w gilydd, yr oedd yr enw wedi peidio âg atteb diben enw; fel ag y mae'r cyfenwau seisnigaidd Jones, Roberts, Williams, Hughes a Davies, y darfu i'r Escob

Lee eu gosod ar y Cymry yn amser Harri'r VIIIfed, wedi peidio âg atteb diben cyfenwau. Gwyddys mai gwahaniaethu'r naill berson oddi wrth y llall yw diben enwau a chyfenwau; ac os myn y Cymry gael enwau y sy'n dda i rywbeth heb law i beri i estroniaid chwerthin am eu pen, rhaid iddynt roi enwau mwy anghyffredin ar eu plant, ac yna rhaid i'r plant hynny wneyd eu henwau priod eu hunain yn gyfenwau i'w plant hwythau, yn ôl hên arfer y Cymry. Trwy hyn, gellid llwyr newid cyfenwau'r Cymry mewn un genedlaeth. "Beth," meddwch, "sy mewn enw?" Llawer ym mhob rhyw fodd; canys y mae enw dŷn yn dylanwadu ar ei gymmeriad. Er engraifft, y mae enw Cymreig yn tueddu i wneyd dŷn yn Gymroaidd ei ysbryd, ac y mae enw cyffredin, fel rheol, yn cyffredino meddwl dŷn. Bu llawer Sais â'i enw Tomkins; ond ni allodd cymmaint ag un Tomkins ymenwogi; ac er cynnifer myrdd o *Joneses* a fu yNghymru o ddyddiau Harri'r VIIIfed hyd yn awr, rhyw ddau neu dri yn unig o honynt a lwyddodd i wrthweithio dylanwad crebachol ei enw.

Yn yr hên amser gynt, byddai Duw yn cynnorthwyo dynion i ymnewid o ran eu cymmeriad a'u cyflwr trwy newid eu henw.—"Mwyach ni elwir dy enw di Iago, ond Israel." "Ni ddywedir am danat mwy Gwrthodedig, eithr ti a elwir Hephsiba"; ac eb efe yn y bennod y mae'r testyn ynddi, "Dywedwch wrth eich brodyr, Ammi ac nid Lo-ammi, ac wrth eich chwiorydd, Ruhama ac nid Lo-Ruhama." Ie, pan y byddai Duw ei hun yn ymnewid o ran ei berthynas â dynion, neu o ran ei ymddygiad tu ag attynt, byddai efe yn newid ei enw; ac am hynny yn bennaf y mae efe yn dywedyd yn y testyn, "Y dydd hwnnw y'm gelwi Issi, ac ni'm gelwi mwyach Baali." Cystal a dywedyd: "Heb law fod Baal wedi myned yn enw rhy gyffredin i fod yn enw priodol i mi, y mae hefyd wedi myned erbyn hyn yn enw rhy anghyf-

addas o ran ei ystyr. Nid arglwydd arnoch a fyddaf fi mwyach, eithr priod i chwi—gwrthrych i'w garu, ac nid i'w ofni."

Er mai Hosea oedd y cyntaf o broffwydi Israel neu Ephraim, sef y llwythau gogleddol yr oedd Ephraim yn ben arnynt, etto yn ei syniadau am Dduw, yr oedd efe yn fwy efengylaidd nag un proffwyd a ddaeth ar ei ôl. Ys gwir fod awdur anhyspys y rhan olaf o Lyfr Esay yn galw Duw yn Dad ac yn Briod i'w bobl; er hynny, nid yw hwnnw yn Dad mor dyner nac yn Briod mor hawddgar a'r Tad a'r Priod y mae Hosea yn eu darlunio. Duw Hosea sy'n tynnu ei bobl â rheffynnau dynol ac â rhwymau cariad. Duw Hosea sy'n methu a rhoi Israel i fyny pan fo Israel wedi ei adael. Hosea sy'n dywedyd fod yr Arglwydd yn ormod o Dduw i ddinistrio, a bod ei gàlon yn ymdroi o'i fewn gan ymchwydd ei gydymdeimlad. "Tad" Hosea sy'n dyscu i Ephraim gerdded, gan eu cymmeryd erbyn eu breichiau. "Priod" Hosea sy'n denu'r eglwys i'r anialwch, ac yn dywedyd wrth fodd ei chàlon, gan beri iddi ganu fel yn nyddiau ei hieuengctid.

Syniad cyfeiliornus yw'r syniad fod y dadguddiad o Dduw ac o'i berthynas â dŷn yn myned rhagddo fwy-fwy hyd amser Malachi. Yr oedd i'r dadguddiad dwyfol drai a llanw; ac amser o drai oedd hi arno yn ystod ac ar ôl y caethgludiad i Fabilon. Nid oes dim a'r sy'n eglurach na bod y proffwydi cyntaf yn fwy efengylaidd o lawer na'r proffwydi diweddaf; a hynny, yn un peth, am eu bod hwy yn rhyddach oddi wrth ddylanwadau offeiriadol. Duw yn gofyn aberthau a degymmau oedd Duw Eseciel a Malachi; ond Duw yn gofyn cymmundeb ysprydol âg ef ei hun, ac ufudd-dod i ddeddfau tragwyddol, oedd Duw Hosea ac Esay. Er mai Malachi yw'r proffwyd agosaf at Iesu Grist o ran amser, etto Hosea yw'r proffwyd agosaf iddo o ran yspryd a syniadau; canys y mae

Duw yn ymddangos bron mor gariadlawn yn yr unfed bennod ar ddeg o Lyfr Hosea ag ydyw efe yn y bymthegfed bennod o Efengyl Luc. Ffurf ar yr enw Iesu ydyw Hosea; ac yn ddiau, efe ydoedd Iesu'r Hên Destament; canys hyspysodd efe enw Duw yn gywirach ac yn gyflawnach nag y darfu i neb o'i flaen nac ar ei ôl, hyd Iesu o Nazareth. Swm ei athrawiaeth ydyw: "Duw, cariad yw." I ddangos ei gariad ef, y mae'r proffwyd yn ei gyffelybu i Briod—i ŵr ffyddlon âg iddo wraig anffyddlon. A dealler fod yr enw "gŵr" yn y testyn yn arwyddo gŵr mynwesol—gŵr sy'n gydymmaith ac yn gymmar i'w wraig, ac nid yn arglwydd arni; gŵr tebyg i Iesu Grist, yr hwn sy'n ben *i'r* eglwys, ac nid yn ben arni; er ei fod yn ben *ar* bawb a phoppeth y tu allan i'w eglwys. "Y dydd hwnnw y'm gelwi Issi, ac ni'm gelwi mwyach Baali." Yn y man fe'm gelwi "fy Mhriod," ac nid "Fy Arglwydd." Ni pheidiodd Duw â bod yn Arglwydd; er hynny, ni fyn efe i'w eglwys ei alw yn Arglwydd, rhag i'r ystyriaeth o'i arglwyddiaeth fagu ynddi fwy o ofn nag o gariad. "Os ŵyf fi feistr," ebe Duw, "pa le y mae fy ofn?" ond "y mae perffaith gariad yn bwrw allan ofn"; ac ni ddichon perffaith gariad fod rhwng arglwydd a'r neb a fo yn ddarostyngedig iddo. Y mae pob gŵr mewn rhyw ystyr yn ben y wraig; er hynny, y mae'r gŵr a fynno ddangos ei fod yn ben, yn tarfu cariad, ac weithiau yn ei ladd yn llwyr. Y mae gwir gariad, yn enwedig rhwng gŵr a gwraig, yn eu gwneyd yn gydradd o ran teimlad, os nad o ran sefyllfa, trwy gyfodi'r pantiau o un tu, a gostwng y bryniau o'r tu arall. Rhaid i Dduw ei hun, er mwyn ennill cariad y ddynoliaeth, fwrw heibio arwyddion ei arglwyddiaeth, a pheri iddi anghofio'r pellder dirfawr sy rhyngddi ac ef. Rhaid, o'r hyn lleiaf, i'w arglwyddiaeth fod mor anweledig ac annheimladwy ag arglwyddiaeth tad ar ei blant, Ond y mae Duw yn caniattau i'r eglwys ei alw nid yn

unig yn Dad, eithr hefyd yn Briod—yn Dduw sy'n ymostwng i fod ar yr un gwastad a hi ei hun. Y mae efe yn Dad i'r ddynoliaeth o anghenraid, wedi iddo'i bywioccâu â'i anadl ei hun; ond o ddewisiad, ac nid o raid, yr aeth efe yn Briod iddi. Dadguddiodd efe ei hun yn Briod iddi, fel y carai hi ef fel ag y mae efe yn ei charu hi. Y mae yngharîad gŵr a gwraig ryw elfennau na cheir monynt yngharîad tad a mab; canys y mae eu bod yn fwy cydradd yn peri fod eu cariad hwy yn fwy agos, yn fwy rhydd, ac yn fwy cyfeillgar, na chariad tad a mab. Pa elfennau bynnag sy'n gwneyd cariad dynol yn rhagorol, credwn fod y rheini yn y cariad dwyfol. Ha fab, câr Dduw fel yr ŵyt yn caru dy dad; ha wraig, câr Dduw fel yr ŵyt yn caru dy ŵr. Nac ofna Greawdr pob peth a Barnwr pawb oll—Issi ydyw ei enw, ac nid Baal. "Dy *Briod* yw'r hwn a'th wnaeth."

Gallwn fesur cynnydd y dadguddiad dwyfol, neu, a llefaru yn ddynol, gallwn fesur cynnydd gwybodaeth dynion am Dduw, wrth yr enwau yr oeddynt yn eu rhoddi arno. Elohim oedd yr enw Hebreig mwyaf cyffredin arno yn yr oesoedd cyntefig; a chan fod hwn o ran ei ffurf yn enw lliosog, y mae yn debygol ei fod unwaith yn lliosog o ran ei ystyr hefyd. Yn wir, y mae'r ymadrodd "Gwnawn ddŷn ar ein delw ni," yn y bennod flaenaf o'r Bibl, yn cadarnhau y dybiaeth nad oedd y cenedloedd cyntefig ddim amgen nag amldduwiaid. Yn y man fe roddwyd i'r enw lliosog hwn *ystyr* unigol; ond nid oedd yr enw yn yr ystyr hwnnw chwaith yn rhoddi syniad teg am Dduw; canys y Duw sy'n peri ofn y mae yn ei feddwl. Cyn i'r duwiau sy'n peri ofn gael eu galw yn Dduw sy'n peri ofn, fe ddechreuwyd galw un o'r duwiau yn dduw goruchaf; ac yn amser Abram fe ddechreuwyd galw'r Duw Goruchaf hwn yn Dduw Hollalluog; yr hwn enw sy'n dangos fod dynion y pryd hwnnw ar y ffordd i gredu mai un Duw sydd, ac nad oes

arall ond efe. Ond Moesen, a hynny ar ôl arwain meibion Israel o'r Aifft, a ddechreuodd ddyscu yn eglur mai Arglwydd Dduw yr Hebreaid oedd unig Arglwydd pawb oll. Pan alwodd Duw ei hun trwy Moesen yn "Ydwyf yr hwn ydwyf," dangosodd efe fod yn annichon i un Duw arall fod. Er hynny, yr oedd corff yr Israeliaid, a hyd yn oed y rhan fwyaf o'r Iddewon hefyd, mor chwannog i addoli duwiau eraill ger bron Duw eu cenedl eu hun, fel mai ym mhen talm o amser ar ôl dychwelyd o Fabilon y darfu i weddill y gaethglud ymwrthod yn llwyr â duwiau dieithr. A hyd yn oed wedi iddynt gredu mai Iehofa neu Iafe oedd Arglwydd yr holl ddaear, etto credu yr oeddynt mai am yr Iddewon yr oedd efe yn gofalu yn neillduol, ac nad oedd cenedloedd eraill ond megis estroniaid yn ei olwg. Mor wahanol ceddynt i Pedr; yr hwn, ar ol i'r Yspryd Glân ehangu ei gàlon, a dystiolaethodd yn nhŷ Cornelius, "Yr ŵyf yn deall mewn gwirionedd nad ydyw Duw dderbyniwr wyneb; ond ym mhob cenedl y neb sy'n ei ofni ef ac yn gwneuthur cyfiawnder sydd gymmeradwy ganddo ef."

Y mae'r holl enwau a grybwyllwyd, sef yr enwau y gelwid Duw wrthynt yn fwyaf cyffredin dan yr Hên Oruchwyliaeth, i'w cael mewn dwy adnod y sy'n hyspys i bawb o honom; ond ni bydd dau o'r enwau yn gwbl amlwg heb ini gofio fod y gair Arglwydd mewn llythrennau breision yn sefyll am Iafe, a'r gair Duw am Elohim: "Yr hwn sy'n trigo yn nirgelwch y *Goruchaf* a erys ynghyscod yr *Hollalluog*. Dywedaf am yr *Arglwydd*, fy noddfa a'm hamddiffynfa ydyw; fy *Nuw;* ynddo yr ymddiriedaf." Y mae hefyd enw cyffredin arall, sef Adonai, yr hwn a gyfieithir yn Arglwydd mewn llythyrennau mân; ond gan fod yn arferyd hwn nid yn unig am Dduw, eithr hefyd am bob dŷn a fo mewn awdurdod, prin y gellir ei gyfrif ef yn enw priodol ar Dduw. Weithiau hefyd, fe elwid yr Arglwydd yn Dduw tra-

gwyddol, yn Dduw cadarn ac yn Dduw'r lluoedd. Ond yr oedd yr holl enwau hyn yn peri i ddynion yn hytrach ofni Duw na'i garu. Dan weinidogaeth ofn yr oeddynt yn byw, ac yspryd ofn oedd yn eu llywodraethu; a'r ofn hwn oedd yn eu gwneyd mor chwannog i ddyhuddo Duw trwy offrymmau ac aberthau. Ys gwir ddarfod i Dduw wrth alw'i hun yn Iafe, gyhoeddi ei fod yn barottach i faddau nac i gospi; er hynny, Duw mawr ac ofnadwy ydoedd yr Arglwydd Iôr yn eu golwg hwy. Yn wir, yr oedd yr *enw* Iafe mor ofnadwy gan yr Iddewon fel na feiddient na'i draethu na'i scrifennu. Er i ambell un o'r proffwydi mwyaf gwrthoffeiriadol, megis Hosea, geisio dyscu'r Israeliaid i synio yn dynerach am Dduw, trwy gyhoeddi ei fod ef nid yn unig yn Benarglwydd, eithr hefyd yn Dad ac yn Briod; etto, y mae lle i gasclu mai ychydig o honynt a gredodd i'w hymadrodd. Nid rhyfedd, gan hynny, eu myned mor gul eu syniadau, a hwythau yn synio mor gul am Dduw. Y mae haelfrydigrwydd crefyddol dynion ym mhob oes yn cyfatteb i'w syniad am gariad ac agosrwydd y Duw byw.

Pa ham y mae Calviniaeth wedi darfod o'r Cyfandir, ac nad ydys mwyach yn sôn fawr am dani yn y wlad hon chwaith? Am fod ei sylfaenydd wedi gwneuthur penarglwyddiaeth Duw, yn lle cariad Duw, yn ganolbwngc ei gyfundraeth. Wrth hynny, ceisiodd efe adgyfodi hên syniad a oedd yn hytrach yn Iddewaidd nag yn efengylaidd. Tybied a wnaeth efe fod Duw yn debyg iddo ef ei hun; a gwyddoch ond odid pa fath ddŷn ydoedd Calvin; dŷn galluog a chydwybodol iawn; ond dŷn heb ddim tynerwch ynddo. Dŷn rhesymmegol odiaeth; ond dŷn heb ddyferyn o farddoniaeth yn ei natur. Er ei fod yn byw ynghanol rhai o'r golygfeydd gwychaf ar y ddaear, ni bu yn wiw ganddo eriôed gyfeirio attynt mewn na llyfr na llythyr. Er ei fod, ac efe yn Ffrangc, yn perthyn i genedl lawen, etto, yr oedd efe yn brudd

hyd at fod yn sarrug. Y mae ei lythyrau ef ei hun yn dangos ei fod yn arglwyddaidd dros ben, a'i fod yn gorfod ar ei wrthwynebwyr trwy eu bygwth â marwolaeth, âg alltudiaeth, â charchar, ac â dirwyon. ac nid trwy eu perswadio yn yspryd yr efengyl. Yn awr, un cyffelyb i Calvin, ond ei fod yn fwy, oedd Duw Calvin—Duw heb gàlon yn ei fynwes, heb wên ar ei wyneb, ac heb ddeigryn yn ei lygad. Penarglwydd yn lladd ac yn arbed yn ôl ei ewyllys, ac nid Tad yn tosturio, a Phriod yn caru. Er fod Calvin ddau gan mlynedd o flaen ei oes mewn esponiadaeth, etto, yr oedd fil o flynyddoedd ar ôl ei oes mewn diwinyddiaeth; am ei fod yn synio yn rhy Iddewaidd ac yn rhy baganaidd am Dduw. Baal oedd ei Dduw ef ar y gorau i bawb nad oedd yn ddiogel ganddynt eu bod yn etholedigion—bod yr oedd ar bechadur cyffredin ofn ei alw yn Issi.

Gofalwn rhag priodoli i Dduw gynneddfau a theimladau a fyddai yn annheilwng hyd yn oed o ddŷn. Dywedodd yr hên bagan da, Plutarch, y byddai yn well ganddo ef i ddynion ddywedyd na bu'r fath ddŷn a Plutarch nag iddynt ddywedyd fod Plutarch yn ddŷn anwadal, nwydwyllt a dialgar. Yn ddiau, yr oedd y pagan hwn o ran ei yspryd, yn fwy o Gristion na'r dynion beiddgar hynny y sydd, â'u llinyn mesur bach, yn gosod terfyn i Sanct yr Israel; ac yn penderfynu y dylai efe, yn ôl deddfau eu rhesymmeg feidrol hwy, rostio yn dragywydd yn uffern bob pagan, ïe, a phob Cristion hefyd a'r nad yw yn eu corlan gyfyng hwy. Cyfrifer fi yn benrydd neu beidio, credu yr ydwyf, a chredu a wnaf, fod Duw yn haelach ei gàlon ac yn fwy ei fryd na'r gorau o ddynion. O'r ddau, y mae yn well ini wadu bod Duw na haeru ei fod yn amgen nag ydyw.

Dyweder a fynner am ddigofaint Duw, a'i gas yn erbyn yr annuwiol, nid oes un adnod o'r Scrythur yn dywedyd mai digofaint *ydyw* Duw, neu mai casineb *ydyw*

Duw. Yn wir, nid ydys yn cyfrif digofaint a chasineb hyd yn oed ym mhlith ei briodoleddau ef. "Duw, cariad yw."—Cychwynnwn oddi wrth yr adnod hon, ac esponiwn bob adnod arall yn gyttunol â hi. Cyn priodoli i Dduw deimladau y sy'n debyg i nwydau, ystyriwn pa beth ydyw efe o ran ei natur.

Gan mai cariad ydyw Duw, yna y mae cariad yn rhywbeth mwy na phriodoledd ynddo; y mae yn hytrach yn gyfuniad o'i holl briodoleddau. Fel y mae lliw gwyn yr heulwen yn cynnwys pob lliw arall, felly y mae cariad yn cynnwys pob priodoledd. Pa beth bynnag arall yw Duw, y mae yn sicr ei fod yn gariadus. Pa beth bynnag arall y mae yn ei wneuthur, y mae yn sicr ei fod yn caru. Ni all efe wadu ei hun, trwy weithredu yn groes i'w naturiaeth.

Y mae dynion yn y dyddiau hyn yn chwilio allan lawer o ddychmygion, ac yn cyfeiliorni mewn llawer pwngc, hyd yn oed wrth chwilio am y gwirionedd; ond nid ŷnt yn cyfeiliorni wrth synio fod Duw Dad cyn addfwyned a'i Fab, a bod ei gariad tu hwnt i gariad gwragedd. Y mae yn wir nad ydys, am resymmau hawdd eu dyfalu, ddim yn galw Duw yn wraig nac yn fam yn y Bibl; ond yr ydys yn dangos ynddo ei fod mor dyner a gwraig briod, ac mor dringar a mam.—"Fel y diddana mam ei phlentyn, felly y diddanaf fi chwi," eb efe wrth ei bobl. Yn wir, nid oes un tad yn dad perffaith, oni bydd ynddo gryn lawer o'r fam; ac nid oes un gŵr yn ŵr perffaith, oni bydd ynddo rai o ragoriaethau'r wraig. O, y mae rhyw ledneisrwydd yngnghariad y Duw mawr y sy'n gwisco ei gadernid â phrydferthwch.

Y mae Duw, fy nghyfeillion, wedi ymegluro yn ddirfawr i ddynion er pan y darfu iddo'u creu, fel y mae efe wedi myned yn fwynach, fwynach, yn eu golwg hyd gyflawnder yr amser. Y mae Duw Abram yn hawddgarach na Duw ei dadau; Duw Moesen yn hawddgarach

na Duw Abram; Duw Hosea yn hawddgarwch na Duw Moesen, a Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist yn hawddgarach, os yw bosibl, na Duw Hosea. Y mae iddo enwau gwell yn awr nag oedd iddo gynt. Yn lle bod yn Elohim, sef yn Dduw arswydus, y mae yn Dad ac yn Briod, sef yn Dduw cariadus. Bechadur, ni raid iti mwy sefyll yn grynnedig o hirbell, a chuddio dy wyneb ger ei fron: gelli redeg yn hyderus i'w freichiau, ac edrych ym myw ei lygaid, gan ddywedyd, "Fy Mhriod, fy anwyl Briod!" "Y dydd hwnnw, medd yr Arglwydd, y'm gelwi Issi, ac ni'm gelwi mwyach Baali."

O'r ddau mae yn well gennyf fi yr enw Priod ar Dduw na'r enw Tad, am fod ynddo fwy o sŵn ymostyngiad a chydraddoldeb. "Dy fwynder," medd y Salmydd, "a'm lliosogodd," neu yn gywirach, "Dy ostyngeiddrwydd a'm gwnaeth yn fawr." Yn ei waith yn priodi'r ddynoliaeth y dangosodd yr uchel Dduw ei ostyngeiddrwydd. Y mae efe yn Dad iddi megis o anghenraid, ond y mae yn Briod iddi o'i wirfodd. Ac fe ryngodd bodd iddo'i phriodi, nid am fod ynddi ddim hawddgarwch cyn iddo ef ei gwneyd yn hawddgar; canys gwael oedd ei gwedd a thruenus oedd ei chyflwr cyn iddo ef ei hamgeleddu. Er mwyn priodi merch yr Amoriad yr achubodd e hi pan oedd hi ar drengu. Gwrandewch ei dystiolaeth ef ei hun: "Ni thosturiodd llygad wrthyt; ond ar wyneb y maes y'th daflwyd, i ffieiddio dy einioes ar y dydd y'th aned. A phan dramwyais heibio it', a'th weled yn ymdrybaeddu yn dy waed, dywedais wrthyt yn dy waed, Bydd fyw; ïe, dywedais wrthyt yn dy waed, Bydd fyw. Yna, ti a gynnyddaist, ac a euthost yn hardd odidog, fel pan euthum heibio it' drachefn, ac edrych arnat, wele, dy amser yn amser serchogrwydd; yna y lledais fy aden drosot; tyngais hefyd it', ac euthum mewn cyfammod â thi, a thi a aethost yn eiddof fi. Yna mi a'th wisgais â gwaith edau a nodwydd,

a gwregysais di â lliain main, a gorchuddiais di â sidan. Rhoddais freichledau am dy ddwylaw a chadwyn am dy wddf. Rhoddais hefyd dlws ar dy dalcen, a thlysau wrth dy glustiau, a choron hardd ar dy ben. Felly y'th harddwyd âg aur ac arian, a'th wisc oedd liain main a sidan, a gwaith edau a nodwydd. Teg hefyd odiaeth oeddit, fel yr aeth allan it' enw am dy degwch; canys cyflawn oedd gan fy harddwch i, yr hwn a osodaswn arnat, medd yr Arglwydd Dduw."

Eglwys y Duw byw, yr ydwyt yn hardd; ond hardd ydwyt gan yr harddwch a osododd dy Briod arnat. Aeth efe i draul fawr i'th wisco â newydd ddillad. A wyddost ti beth a gostiodd dy ŵn gwyn o liain main, yr hwn yw cyfiawnder y saint? A wyddost ti pa faint a dalwyd am fodrwy y cyfammod y sydd ar dy fys? Ai âg arian neu aur y prynodd Duw y gadwyn sydd am dy wddf, a'r goron sydd am dy ben? A gadwodd e dydi yn fyw heb osod i farwolaeth y gŵr a oedd anwyl ganddo? A iachaodd e dydi heb geisio rhywun arall? A wnaeth e dydi yn ogoneddus heb wneyd un arall yn ddirmygus? Yr wyt yn fyw, yn iach, ac yn deg ar drâul dy Briod. A swm mawr y prynnwyd yr hyn sy gennyt, ac y'th wnaed yr hyn ydwyt.

"Ar groesbren, brydnawn,
Cyfiawnder gadd iawn,
A'r gyfraith anrhydedd, 'r ûn dydd;
Trwy rinwedd y gwaed,
Boddlonwyd y Tad;
Mae merch yr Amoriad yn rhydd."

O ïe, yr oeddet ti yn gaethes, ac fe'th briododd Duw, er mwyn dy wneyd yn wraig rydd. Yr ŵyt ti yn fwy o wraig rydd i Dduw nag oedd Sara i Abram; canys "ufuddhaodd Sara i Abram, gan ei alw ef yn arglwydd"; ond y mae Duw mor ymostynggar fel y mae yn ewyllysio iti yn ei gymdeithas ef anghofio ei fod yn

Arglwydd, a pheidio a chyfrif dy lafurus gariad yn ufudd-dod gwasaidd; ac am hynny mae efe yn dywedyd, "Ti a'm gelwi Issi, ac ni'm gelwi mwyach Baali."—Dywed wrthyf Fy Mhriod, ac nid Fy Arglwydd."

O ddŷn, pwy bynnag ydwyt, yn enwedig tydi sy'n ymdeimlo yn unig a digartref ar y ddaear, a ei di gyd â'r gŵr hwn? A fynni di'r Duw hwn yn Briod iti, i'th garu ac i'th fawrhau, i'th gadw yn glaf ac yn iach, i'th lawenhau dros byth yn ei dŷ nefol ei hun?

Oni chymmeri di ef yn Briod o'th fodd, yna rhaid iti ei gymmeryd yn Arglwydd o'th anfodd, i wneuthur â thi yn ol ei ewyllys ei hun, ac yn ol dy haeddiant dithau. Ni all na ddywedi rywbryd naill ai Issi neu Baali.

# VI.

## GWELEDIGAETH ESAY.

"*Yn y flwyddyn y bu farw'r brenin Uzzia, y gwelais hefyd yr Arglwydd yn eistedd ar eisteddfa uchel a dyrchafedig, a'i odre yn llenwi'r deml. Y seraphiaid oedd yn sefyll oddi ar hynny: chwech adain ydoedd i bob un; â dwy y cuddiai ei wyneb, ac â dwy y cuddiai ei draed, ac â dwy yr ehedai. A llefodd y naill wrth y llall, ac a ddywedodd, Sanct, Sanct, Sanct, yw Arglwydd y lluoedd, yr holl ddaear sydd lawn o'i ogoniant ef. A physt y rhiniogau a symmudasant gan lef yr hwn oedd yn llefain, a'r ty a lanwyd gan fwg. Yna y dywedais, Gwae fi; canys darfu am danaf; o herwydd gwr halogedig ei wefusau ydwyf fi, ac ym mysg pobl halogedig o wefusau yr ydwyf yn trigo; canys fy llygaid a welsant y brenin, Arglwydd y lluoedd. Yna yr ehedodd attaf un o'r seraphiaid, ac yn ei law farworyn a gymmerasai efe oddi ar yr allor mewn gefail: ac a'i rhoes i gyffwrdd â'm genau, ac a ddywedodd, Wele, cyffyrddodd hwn a'th wefusau, ac ymadawodd dy anwiredd, a glanhawyd dy bechod. Clywais hefyd lef yr Arglwydd yn dywedyd, Pwy a anfonaf? a phwy a â drosom ni? Yna y dywedais, Wele fi, anfon fi.*" ESAY vi. 1—8.

YR un gŵr ydyw Uzzia neu Hosias a'r brenin yr ydys yn ei alw yn ail Lyfr y Brenhinoedd yn Azaria. Nid yw ryfedd fod Esay yn cyssylltu'r ffaith hynottaf yn ei hanes ei hun â'r amser y bu farw'r brenin hwn; canys yr oedd Uzzia y brenin mwyaf llwyddiannus, ac yn wir yn un o'r brenhinoedd gorau hefyd, a deyrnasodd ar Iŵda ar ôl y brenin Dafydd. Wedi marw Ieroboam yr Ail, y galluoccaf o frenhinoedd y deg llwyth, aeth tŷ

Iŵda yn gryfach na thŷ Israel, ac aeth brenin Iŵda yn fath o ymmerawdr ar yr holl fân frenhinoedd a oedd ar gyffiniau gwlad Canaan. Yn ei yni, ac yn ei ofal am fasnach ei wlad ac am effeithiolrwydd ei fyddin, yr oedd Uzzia yn ymdebygu i ymmerawdr presennol yr Almaen; ac yn ei gymmeriad moesol ac yn hyd ei deyrnasiad, yr oedd yn ymdebygu i'r frenhines Victoria. Er hynny, bu hanner can mlynedd o lwyddiant milwrol a masnachol yn niweidiol i grefydd a moesau'r genedl. Aeth y milwyr, o hir ymarfer â thywallt gwaed ac yspeilio cenedloedd estronol, yn bobl beryglus i'w cenedl eu hunain. Parodd gogoniant milwrol i'r bobl ymfalchïo ac ynfydu ac anghofio'r Arglwydd, eu Gwneuthurwr. Dygodd rhyfel llwyddiannus a masnach helaethach gymmaint o elw i'r dosparth uchaf o'r genedl, fel yr ymroisant i lythineb a moethau a thrythyllwch a rhodres, a phob rhyw rysedd. Aeth yr offeiriaid yn hunangar ac yn llwfr, am eu bod yn credu y caent wy o dâl am wenieithio i'r cyfoethogion nag am eu rhybuddio, a mwy o glod am ddilyn y werin nag am ei harwain. Yr oeddynt hefyd yn dechreu ymhonni mai ganddynt hwy yn unig yr oedd hawl i aberthu; ac am hynny, pan aeth Uzzia i mewn i'r deml i arogldarthu, yn ôl esampl Dafydd a Solômon a brenhinoedd eraill, fe ddarfu i bedwar ugain o honynt ruthro yno i'w rwystro; ac wedi i'r Arglwydd yn ddiweddarach ei daraw â gwahanglwyf, taenasant hwythau y chwedl mai cosp oedd hynny arno am ei waith yn ceisio arogldarthu; er y gwyddent o'r gorau fod pob brenin yn offeiriad ym mraint ei swydd; ïe, fod yn rhydd i bob Israeliad offeiriadu yn y man y mynnai, yn ôl cyfraith Moesen, a hên arfer gyffredin y bobl. Ar air, yr oedd pethau trymmaf y gyfraith, sef gwirionedd a chyfiawnder, trugaredd a ffyddlondeb, wedi myned yn isel eu bri gan y rhan fwyaf o'r genedl. Ys gwir eu bod yn grefyddol iawn yn eu ffordd—yn grefyddol hyd at fod

yn goelgrefyddol. Yr oedd ganddynt ffurf duwioldeb, ond yr oeddynt wedi gwadu ei sylwedd hi. Gellid meddwl wrth ddarllen darluniad Esay a phroffwydi eraill o gyflwr y ddau lwyth yn oes y brenin Uzzia, mai darllen yr ydys ddarluniad o gyflwr Prydain Fawr yn oes y Frenhines Victoria, rhag tebycced yw'r ddwy deyrnas i'w gilydd. Er cynddrwg oedd y genedl yr oedd Uzzia yn teyrnasu arni, etto yr oedd efe'i hun yn ddŷn pur dda, ac ystyried gynnifer oedd temtasiynau ei swydd ac anfanteision ei oes. Er ei fod, trwy wrthsefyll newydd-bethau offeiriaid culfarn ac uchel-eglwysig, wedi cyffroi eu heiddigedd a'u digofaint hwy, etto, yr oedd, o blegid ei ddaioni, ei allu a'i lwyddiant, yn frenin gogoneddus iawn yngolwg pawb eraill; am hynny, yr oedd y flwyddyn y bu farw y brenin Uzzia yn flwyddyn nodedig yngolwg y proffwyd Esay. Efallai y buasai efe wedi scrifennu Ichabod ar gyfer y flwyddyn honno, gan ddywedyd ddarfod i'r gogoniant ymadael o Israel, pe na buasai iddo, ynghorff yr un flwyddyn, weled gogoniant brenin arall a mwy,—"Yn y flwyddyn y bu farw y brenin Uzzia y gwelais yr Arglwydd."

Dealler mai gweledigaeth ydyw'r testyn, a'r holl bennod y mae'r testyn ynddi—yr unig weledigaeth a gafodd Esay. Trwy glywed, ac nid trwy weled, y cafodd efe bob dadguddiad arall; a hynny yw'r achos fod ei broffwydoliaethau ef gymmaint eglurach na phroffwydoliaethau Ezeciel a Daniel. Yn amser Samwel y dechreuodd proffwydi ymgodi; gweledyddion gan mwyaf oedd yn bod cyn ei amser ef. Gweledydd oedd Samwel ei hun yn nechreuad ei yrfa; ond aeth efe yn y man yn broffwyd. Rhywbeth rhwng dewin a phroffwyd oedd gweledydd. Gweledydd oedd Balaam; ac am hynny, yr ydys yn ei alw weithiau yn ddewin, ac weithiau wrth enw cyfystyr â phroffwyd. Yr oedd Moesen, er ei fod yn byw yn gynnar, yn fwy na gweledydd; ïe, yr oedd

efe yn fwy na phroffwyd; am fod yr Arglwydd yn llefaru wrtho ef wyneb yn wyneb, fel y llefarai gŵr wrth ei gyfaill. Mewn breuddwyd neu mewn pêr-lewyg y byddai'r gweledydd yn cael ei gennadwri; ond yr oedd gan y proffwyd o radd uchel fwy o feddiant ar ei synhwyrau a'i deimladau. Y mae yn wir mai dŷn gorphwyllog neu ddŷn yn ymferwi, yw ystyr y gair Hebraeg am broffwyd hefyd; a rhaid addef mai dynion pur ferwedig ydoedd y proffwydi cyntaf, megis Elias ac Eliseus; ond dylid cofio mai dynion anllythrennog, yn traethu eu cennadwri yn ddifyfyr ac yn ddiaddurn, yngwres eu teimlad cyntaf, oeddynt hwy; ond am y proffwydi mwyaf diwylliedig, megis Ioel ac Esay, yr oeddynt hwy yn cymmeryd hamdden i scrifennu eu cennadwri, ac i'w scrifennu mewn prydyddiaeth; ac am ddarfod iddynt ymdrafferthu i wneyd hynny y bu yn wiw gan yr eglwys gadw eu proffwydoliaethau hwy rhag myned ar ddifancoll; ac am yr un rheswm, sef o blegid eu gwerth llenyddol, y mae yn wiw gan y byd barhau i'w darllen. Er fod oes y gweledyddion wedi myned heibio erbyn yr oes olau yr oedd Uzzia yn byw ynddi, etto yr oedd ambell broffwyd yn parhau i gael gweledigaethau. Cafodd Esay un; ond rhaid i bawb gydnabod fod honno yn un aruchel iawn, a'i bod wedi ei scrifennu mewn iaith ac arddull aruchel. Y mae yn wir fod y weledigaeth yn llawn o ffugrau; canys y mae ynddi sôn am orseddfa Duw, am Dduw yn eistedd arni, am odre Duw, ac am adenydd seraffiaid; ond pa fodd y medr neb lefaru am bethau dwyfol ac anweledig heb ffugr? Trwy ddrych mewn dammeg y dichon dŷn daearol weled pethau nefol, boed ef broffwyd neu amgen. Os yw Esay yn y testyn yn llefaru yn ddynol am Dduw, y mae yn llwyddo trwy'r cwbl i wneuthur Duw yn fawr iawn yn ein golwg.

Darluniad o alwad Esay i'r swydd broffwydol sydd yn y testyn; ond y mae hwnnw yn ddarluniad o alwad pob dŷn i waith yr Arglwydd, ac o'i alwad i iachawdwriaeth hefyd. Cyn y menna llais Duw arnom, rhaid ini ei weled ef ei hun. Wrth weled yr Arglwydd yn ei fawrhydi ac yn ei sancteiddrwydd y gallwn weled ein hunain yn ein bychander ac yn ein halogrwydd; yn yr olwg ar ein bychander a'n halogrwydd y gallwn edifarhau; wrth edifarhau y gallwn ddisgwyl cael maddeuant a glanhad; ac wedi cael maddeuant a glanhad y'n cymhellir ac y'n cymhwysir i weithio dros yr Arglwydd. Y mae'r holl bethau hyn ynglŷn â'u gilydd, ac yn canlyn eu gilydd yn rheolaidd yn nhrefn cadwedigaeth dŷn. Gweled yr Arglwydd yw'r ddolen gyntaf yn y gadwyn, a chanlyniadau'r gweled hwnnw yw'r holl ddolennau eraill. Ond yn hanes Esay, yr ŷm yn canfod nid yn unig ganlyniadau'r gweled, ond hefyd achlysur y gweled; ac nid oedd yr achlysur hwnnw ddim amgen na marwolaeth y brenin Uzzia. Nid dywedyd y mae'r proffwyd fod y ffaith hynottaf yn hanes ei fywyd ef ei hun wedi digwydd yn yr un flwyddyn a ffaith hynod arall yn hanes y byd: yn hytrach rhoi ar ddeall y mae efe mai'r naill ffaith a achlysurodd y llall; hynny ydyw, mai marwolaeth y brenin Uzzia a barodd iddo ef weled yr Arglwydd. Fel pe dywedasai: Pan gollais olwg ar fy mrenin daearol y gwelais i fy Mrenin nefol. Pan oeddwn gyd â'r dyrfa yn canu galarnad i'r brenin marw, ymrithiodd o'm blaen y Brenin tragwyddol, anfarwol, anweledig. Yr oedd cadair hwn yn llawn, pan oedd cadair y llall yn wag. Yr oedd hwn yn eistedd yn Dduw byw, pan oedd y llall yn gorwedd yn gelain.—"Yn y flwyddyn y bu farw y brenin Uzzia y gwelais yr Arglwydd." Pan ddiflanodd fy seren yr ymddangosodd fy haul.

Y mae llawer un heb law Esay wedi gweled yr Arglwydd mewn blwyddyn dywyll a du. Pan fo efe yn tynnu o'r neilldu y wahanlen sy rhyngom a'r byd arall, er mwyn dwyn i mewn iddo gâr neu gyfaill i ni, bydd rhai yn cael cip o olwg trwy'r agorfa ar yr Arglwydd yn eistedd ar yr eisteddfa uchel a dyrchafedig; ac wrth weled seraffiaid yn cuddio'u hwynebau ger ei fron, byddant hwythau yn dyscu gwyleiddio ac addoli, gan ddywedyd, "Yr Arglwydd sy'n teyrnasu," "Bendigedig fyddo enw'r Arglwydd." Byddant yn gallu llefain uwch ben corff marw eu hanwylyd, Byw byth fo'r Brenin. Hwn bellach a biau'r eisteddfa uchaf yn eu càlon hwy eu hunain.

Fel Arglwydd y gwelodd Esay Dduw, ac fel Arglwydd y bydd agos pob pechadur yn ei weled gyntaf. Y mae Duw yn dadguddio'i hun i bob un yn neillduol fel y dadguddiodd ei hun i'r eglwys yn ei chrynswth, sef yn Arglwydd yn gyntaf, ac wedyn yn Dad. Nid oes gwir gariad heb barchedigaeth; am hynny, yr oedd yn rhaid i Dduw ddyscu dynion i'w barchu ef fel Arglwydd cyn y gallai eu dyscu i'w garu fel Tad. Y mae'r wers y cymmerodd Duw gymmaint o amser a chymmaint o drafferth i'w dyscu i feibion Israel yn wers y dylid ei chofio a'i gwneuthur hyd ddiwedd amser; canys ni pheidiodd Duw â bod yn Arglwydd wrth ddadguddio'i hun yn Dad, ac ni pheidiodd chwaith â bod yn Dduw sanctaidd wrth ddadguddio'i hun yn Dduw tirion. Yn ddiau, nid Duw tost yw'n Duw ni; ond y mae cyn wired a hynny nad Duw meddal yw chwaith. Pobl feddal eu hunain yw pawb a'r sy'n addoli Duw meddal. Y mae hanes yr eglwys yn dangos mai y rhai a oedd yn synio uchaf am arglwyddiaeth ac am sancteiddrwydd Duw oedd y Cristionogion cadarnaf a phuraf. Y *mae* Duw yn wir yn Dad, ond ein Tad yr hwn sydd yn y nefoedd yw; Tad sydd ar eisteddfa uchel a dyrchafedig; Tad sy'n Frenin, ac

yn Arglwydd yr arglwyddi; a thybed fod yn weddus ini ymddwyn cyn hyfed tu ag at frenin a thu ag at ein cydradd? "Os ŵyf fi dad," eb efe, "pa le y mae fy anrhydedd, ac os ŵyf fi feistr, pa le y mae fy ofn?" Y mae Duw yn wir yn Briod, ond Priod sy'n Greawdr yw: "Dy Briod yw'r hwn a'th wnaeth"; ac oni ddylai fod ynom fwy o barchedig ofn ger bron Creawdr na cher bron creadur? Y gwir ydyw fod Duw yn anwyl ac yn ofnadwy, yn dyner ac yn llym; ac y mae efe fel hyn neu fel arall yn ôl ein hymddygiad ni tu ag atto, neu yn ôl y cyflwr y bo'm ynddo. Y mae'n Tad nefol yn debyg iawn i'w Fab pan oedd yn y cnawd: yr oedd hwnnw yn llym iawn wrth ragrithwyr, wrth gybyddion, ac wrth bobl ymhongar ac ymwthgar, ac yn llym ar amserau wrth ei ddiscyblion ei hun; ond pan aeth y rheini yn drist, rhoes efe heibio ei lymder, fel y rhoes heibio'i gochlwisc, pan olchodd efe'u traed. Fe ymwascodd yn nes attynt, ac fe'u hanwylodd, gan eu galw yn gyfeillion ac yn blant bychain. Yr un ffunud y mae Duw yn ymddwyn: pan fo'i blant mewn gorthrymder a galar, y mae efe yn ymddangos iddynt yn hytrach yn Dad nag yn Arglwydd; yn hytrach yn Briod nag yn Greawdr. Bron na ddywedwn ei fod ef y pryd hwnnw yn gymmaint o fam ag yw o dad. Yn wir, ni byddai efe yn dad perffaith, oni bâi fod ynddo dynerwch a thringarwch mam. Y mae'n wir nad yw'r Bibl ddim yn galw Duw yn fam; ond y mae yn dywedyd ei fod ef yn ymddwyn fel mam: "Fel y diddana mam ei phlentyn, felly," eb Esay, "y diddana efe chwi." O, pe gwelech yr Arglwydd yn dylofi ambell un o'i blant; pe'i gwelech yn ei siglo yn ei freichiau ac ar ei liniau; pe'i gwelech yn rhoi hûn i'w anwylyd trwy ei suo i gyscu yn amser trallod, diau y dywedech na bu erióed fam mor dringar ag yw efe. Er hynny, hyd yn oed wrth foethi ei blant, y mae efe yn cadw ei urddas. Pob peth y mae efe yn

ei wneyd, y mae yn ei wneyd gan eistedd ar ei orsedd, a'r goron ar ei ben, a'r seren frenhinol ar ei fron. Arglwydd Frenin yw efe o hyd; y mae yn uchel ei eisteddfa, yn fawr ei barch, ac yn ogoneddus mewn santeiddrwydd.

Dyma'r ail sylw: Pan welodd Esay yr Arglwydd yn ei fawredd ac yn ei santeiddrwydd, y gwelodd efe'i hun hefyd, yn ei fychander ac yn ei halogrwydd,—"Gwae fi," eb efe; "canys darfu am danaf; o herwydd gŵr halogedig ydwyf fi, ac ym mysc pobl halogedig o wefusau yr ydwyf yn trigo; canys fy llygaid a welsant y brenin, Arglwydd y lluoedd."—*Canys* fy llygaid a welsant y brenin: y mae'r gair "canys" yn dangos mai o achos iddo weled Duw y darfu iddo weled ei hun. Yngoleuni llachar gogoniant yr Arglwydd y gwybu efe ei fod yn bechadur. O'r blaen yr oedd yn tybied ei fod yn weddol lân, ond yn awr, y mae yn canfod mai aflan yw. Y mae yn debyg ei fod wedi dechrau proffwydo ennyd o amser cyn hyn, ond nid oedd etto wedi ei argyhoeddi. Tebyg oedd i Daniel Rowland o Langeitho, yr hwn a fu yn pregethu i eraill, ac a fu, meddir, yn foddion i argyhoeddi eraill, cyn iddo ef ei hun gael ei argyhoeddi. Ond yn y flwyddyn y bu farw'r brenin Uzzia gwelodd y proffwyd y Brenin goruchaf, Arglwydd y lluoedd. Fe welodd Arglwydd llu'r seraphiaid chweadeiniog, a oedd yn addoli ac yn canu o ddeutu'r orsedd; Arglwydd llu'r cerubiaid pedair-adeiniog, a oedd yn gwarchod yr orsedd; Arglwydd llu'r angylion diadenydd, a oedd yn gwasanaethu fel cennadon rhwng nef a daear; Arglwydd llu'r sêr yr oedd enwau'r angylion arnynt; a phan welodd efe'r Brenin mawr hwn fe welodd ei hunan bach. Peri dychryn iddo, ac nid llawenydd, a wnaeth y golwg cyntaf ar Sanct yr Israel. Meddyliodd ar y pryd ei fod yn marw ac yn myned yn ddim: "Gwae fi," eb efe, "canys darfu am danaf." Os

nad yw dynion mwyach yn teimlo cymmaint ag a deimlodd Esay, y mae hynny am nad ŷnt yn gweled cymmaint ag a welodd efe. Os na welsant eu hunain mor ddu, y mae hynny am na welsant yr Arglwydd mor wyn. Y mae syniad pob dŷn am dano'i hun yn cyfatteb i'w syniad am Dduw. Y mae saint mawr pob oes wedi gweled eu hunain rywbryd neu gilydd yn bechaduriaid mawr; ac os nad oes yn yr oes ffwdanllyd a chwareugar hon lawer o saint mawr, y mae hynny am nad oes ynddi lawer o bechaduriaid mawr, yn eu golwg eu hunain. Sant mawr ydoedd y patriarch Io, yn enwedig ar ôl ei brofi; a chyffelyb oedd ei brofiad ef i brofiad Esay: "Clywais â'm clustiau sôn am danat; ond yn awr fy llygaid a'th welodd; am hynny, y mae yn ffiaidd gennyf fi fy hun, ac yr ŵyf yn edifarhau mewn llwch a lludw." Nid ŵyf fi yn dywedyd y rhaid i bob dŷn a ddychweler at Dduw, weled a theimlo cymmaint ag a wnaeth y proffwyd, a'r patriarch a ènwyd. Nid ŵyf yn dywedyd y rhaid i bob dŷn weled ar unwaith ac yn ddisymmwth y cwbl a'r sydd i'w weled, nes peri iddo lefain allan, "Gwae fi; darfu am danaf"; ond yr ŵyf yn dywedyd y rhaid i bob dŷn weled yn raddol, os nad yn ddisymmwth, a theimlo yn ddwys, os nad yn gyffrous. Rhaid i bob dŷn weled Duw cyn y gallo weled ei hun, a gweled ei hun cyn y gallo ffieiddio'i hun, ac edifarhau am ei bechod. Rhaid i bob dŷn ymdeimlo yn fychan ger bron y Mawredd, ac ymdeimlo yn halogedig ger bron y Sanct. Pa fodd y gall neb ymdeimlo yn amgen, pan ystyrio fod golygon yr Hollwybodol, fel pelydrau X yn ymdreiddio iddo a thrwyddo. Yn ddiau, nid oes neb yn caru Duw heb fod wedi ei ofni rywbryd. Ac nid am ei fod yn Dduw sy'n cospi pechod y mae'r dŷn a argyhoeddwyd yn ei ofni ef, eithr am ei fod yn Dduw sy'n casàu pechod. Trem llygad yr Arglwydd, ac nid dyrnod ei law, sy'n gyrru arswyd ar y dŷn hwnnw. Y mae tan-

beidrwydd gogoniant Sanct yr Israel yn fwy ofnadwy iddo ef nag angerdd tân uffern. Pa uffern boethach sy nag uffern o'r fath yma: tragwyddol bwys gogoniant y nef yn pwyso yn drwm ar yspryd pechadur y sy'n rhy wan i'w ddal. O! dyma uffern yr uffernau—dyma'r drydedd uffern y sy'n cyfatteb i'r drydedd nef; ac fe gipiwyd rhai i'r uffern hon dros ychydig ennyd cyn eu marw. Bu Esay ei hun ynddi am rai munudau. Nid rhyfedd, gan hynny, oedd iddo lefain, "Gwae fi; darfu am danaf."

Yn nesaf, pan welodd Esay ei hun, ac y cyffesodd mai pechadur ydoedd, y cafodd faddeuant gan Dduw: "Yna," eb efe, "yr ehedodd attaf un o'r seraffiaid, ac yn ei law farworyn a gymmerasai efe oddi ar yr allor mewn gefail, ac a'i rhoes ef i gyffwrdd â'm genau, ac a ddywedodd, Wele, cyffyrddodd hwn â'th wefusau, ac ymadawodd dy anwiredd a glanhawyd dy bechod," neu, yn fanylach, "symmudwyd dy anwiredd, a glanhawyd di oddi wrth dy bechod." Fe'i rhyddhawyd oddi wrth euogrwydd trwy symmud yr anwiredd oddi arno; fe'i rhyddhawyd oddi wrth halogrwydd trwy ei lanhau ef ei hun oddi wrth ei bechod. Maddeuant cyfan, rhad, a gafodd Esay; a maddeuant cyfan oedd arno ef ei eisiau. Maddeuant darniog—hanner maddeuant y mae llawer yn ei chwennychu; ac am hynny, nid ŷnt hwy yn cael maddeuant o gwbl. Y mae pawb yn ewyllysio cael gwared o'r pechod y sydd arnynt, ond nid pawb sy'n ewyllysio cael gwared o'r pechod y sydd wrthynt ac ynddynt. Y mae baich pechod yn eu blino, ond y maent yn ymddygymmod yn burion â staen pechod. Byddai yn dda ganddynt gael eu gwaredu oddi wrth euogrwydd, oddi wrth ofn angau a chosp uffern, ond nid da iawn ganddynt gael eu gwaredu oddi wrth aflendid pechod, ac yn enwedig oddi wrth fwyniant pechod, Bron na ddiolchant am fod gan Dduw drefn i gyfiawn-

hau yr annuwiol; ond nid ŷnt yn diolch yn wresog am fod ganddo drefn i lanhau ac i santeiddio pechadur. Gwell ganddynt gael eu cyfrif yn gyfiawn na'u gwneuthur yn gyfiawn; ac y mae *gwneuthur* pechadur yn gyfiawn yr un peth a'i wneuthur yn lân; ac ni ellir ei lanhau ef heb ei olchi, na'i olchi bob amser heb ei rwbio a'i scrwbio, a hynny yn erbyn y graen. Wrth weddïo, y mae'r bobl yr ŵyf yn sôn am danynt yn cael hwyl i ddywedyd, "Maddeu ini'n dyledion," ond nid ŷnt yn cael dim hwyl i ddywedyd, "Gwared ni rhag y drwg." Gwybydder hagen fod maddeuant Duw nid yn unig yn dilèu yr hên ddyled, eithr hefyd yn attal dŷn rhag myned i ddyled newydd. Y mae maddeuant effeithiol yn edrych ym mlaen yn gystal ag yn ôl, am ei fod yn parottoi dŷn i fyw bywyd newydd a gwell. Yn ôl yr hên ddiwinyddion, un o elfennau cyfiawnhad yw maddeuant; ond yr oedd y maddeuant a gafodd Esay yn fwy cynnwysfawr na maddeuant y diwinyddion; canys yr oedd hwnnw yn cynnwys cyfiawnhad a santeiddiad—cyfiawnhad a glanhad, o'r hyn lleiaf. "Symmudwyd dy anwiredd"—dyna faddeuant cyfiawnhaol. "Glanhawyd di oddi wrth dy bechod"—dyna faddeuant glanhaol. Y mae Duw yn cyfiawnhau dŷn er mwyn ei lanhau, ac yn ei lanhau er mwyn ei santeiddio, sef er mwyn ei neillduo iddo'i hun; ac fel y mae diweddiad peth yn well na'i ddechreuad, a diben y ffordd yn bwysiccach na'r ffordd ei hun, felly y mae'r glanhau a'r santeiddio yn fwy na'r cyfiawnhau. Gwir fod y cyfiawnhau, ynddo'i hun, y peth mwyaf o'r tri; canys Duw sy'n cyfiawnhau; efe yn unig a ddichon symmud ymaith euogrwydd pechod; ond rhaid i ninnau gydweithio â Duw i symmud ymaith lywodraeth a llygredd pechod; am hynny, y mae Duw yn fynych yn gorchymmyn i *ni* ymlanhau ac ymsanteiddio, ond nid yw byth yn gorchymmyn ini ymgyfiawnhau. Efe ei hun yn unig a all

ddieuogi'r anwir trwy faddeuant. Yn ddiau, peth mawr, ïe i Dduw, oedd symmud yr anwiredd oddi arnom. Gwnaeth Duw hyn o beth heb gydweithrediad un dŷn; ond nid heb gydweithrediad Mab y dŷn. Pa fodd, i ba le, neu ar bwy y gallai efe symmud yr anwiredd? Ysprydolwyd Esay i ddadguddio'r dirgelwch hwn yn fore iawn: "Yr Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd." Fy nghyd bechadur, gwna dithau yr awr hon yr hyn a wnaeth Duw ar Galfaria.—Cascl ynghyd holl bechodau dy oes, a rhwym hwynt ynghyd yn un pwn, a dod y pwn hwnnw ar yscwyddau "yr hwn a wnaethpwyd yn bechod trosom ni, fel y'n gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef." Y mae hwn yn ŵr sy gyfaill i Dduw, a daeth ei gyfaill ef yn frawd ac yn briod i ti; a thrwy yr undeb priodasol hwn, aeth dy holl ddyled di arno ef, a daeth ei gyfoeth yntau yn eiddo i ti. O ferch yr Amoriad; ô wraig druan, helbulus, dy bechod yw'r unig gynnyscaeth sy gennyt ti ar dy helw. Er hynny, dyro hwnnw i'th Briod. Dywed wrtho: Yr ŵyf yn rhoi iti fy nghydwybod euog a'm càlon aflan; yn rhoi iti fy angrediniaeth a'm hanystyriaeth; yn rhoi iti fy meddyliau ofer a'm drwg-weithredoedd. Dyro dithau i minnau dy faddeuant, dy heddwch a'th ras.

Ond pa fodd, medd rhywun, y gwybyddaf a gefais i faddeuant a'm dieuogodd—a'm cyfiawnhaodd? Trwy edrych a gefaist faddeuant y sy'n dy lanhau. Pa fodd y mae hi rhyngot â phechod? A ydyw yn dda gennyt feddwl fod gan Dduw drefn i'th wneuthur yn lân. O! gair gwych yw'r gair glanhau; y mae yn well gennyf fi hwn na'r geiriau croesi a blotio, a hyd yn oed na'r geiriau mwy scrythyrol cuddio a dilèu. Y mae gormod o sôn yn ein hemynau am groesi biliau ac am flotio beiau; fel pe na bai dim ond ingc yn eu cuddio rhag cyfiawnder nef, ac oddi wrth lygaid deddf a diafol. Pe na bâi maddeuant yn ddim amgen na chroesi a blotio,

byddai arnaf fi ofn y gallai'r diafol weled dan y croesau, a darllen trwy y blotiau. Nid ar bapur y mae Duw yn scrifennu'n dyledion, eithr ar lech, a phan y bo efe yn maddau, y mae yn golchi y llech yn lân, megis â spwng. Y mae ei lech ef yn gwbl lân; fel nad oes yn aros arni mwyach na'n beiau ni na blotiau Duw ychwaith. Y mae cryn lawer o sôn yn y dyddiau hyn ym mhlith gwleidyddion am lechen lân. Bechadur, onid oes arnat, ar ddechrau blwyddyn newydd ac ar ddechrau canrif newydd, awydd ailddechrau byw â llechen lân? Os dywedi di yn edifeiriol, "Gŵr halogedig o wefusau ydwyf fi," yna cei glywed Duw o'r nef yn eglur yn dywedyd wrthyt tithau, "Symmudwyd dy anwiredd, a glanhawyd di oddi wrth dy bechod."

Yn olaf, pan gafodd Esay faddeuant y gwnaed ef yn barod ac yn gymmwys i waith yr Arglwydd; mewn geiriau eraill, pan y'i gwnaed yn lân y'i gwnaed yn santaidd, sef yn gyssegredig. Y fath gyfnewidiad a fu ar ei deimlad pan gyfnewidiwyd ei gyflwr! Cyn cael maddeuant, nid oedd efe yn neb na dim, yn ei olwg ei hun: "Darfu am danaf," eb efe; ond wedi cael maddeuant, fe deimlodd ei fod yn rhywun: "Wele fi," eb efe. Yr oedd cymmaint o ôl llaw Duw arno erbyn hyn, fel nad oedd yn wiw iddo wadu ei hanfod a'i bersonoliaeth ei hun; am hynny, beiddiodd efe ddywedyd, ger bron y seraffiaid a cher bron y Goruchaf ei hun, "Wele *fi*." Pan welodd efe Dduw yn ei fawredd ac yn ei santeiddrwydd, fe gollodd olwg arno'i hun; ond pan welodd Dduw yn ei faddeugarwch a'i ras, fe gafodd hyd iddo'i hun drachefn,—"*Wele* fi." Ie, yn sicr ddigon, myfi ydwyf fi, er mor annhebyg ŵyf i mi fy hun. Ar ôl ei wneuthur yn lân, yr oedd wedi tyfu yn ei olwg ei hun. O'r blaen, yr oedd yn meddwl nad oedd yn dda i ddim; bellach, y mae yn ymdeimlo yn gymmwys i bob rhyw waith. A pha ryfedd ei fod mor hyderus—onid oedd Esaia ddu

wedi myned erbyn hyn yn Esaia wyn? Maddeuwyd ei aml bechodau ef; am hynny fe garodd yn fawr; ac yr oedd ei gariad yn ei wneyd ef yn gryf, ac yn barod i bob rhyw waith.

Pan ofynnodd yr Arglwydd ynghanol ei luoedd, "Pwy a anfonaf, a phwy a â drosom?" dyma'r truan hwn, a fu gynnau yn llefain "Gwae fi; darfu am danaf," yn achub y blaen ar y seraffiaid a'r holl angylion, gan ddywedyd. "Wele fi, anfon fi." Gall y seraffiaid ganu yn wych am ogoniant dy santeiddrwydd, ond myfi a all fynegi yn orau am ogoniant dy ras. Y mae dy angylion yn gennadon cyflym, ond yr ŵyf fi yn yscafnach fy nhroed na Gabriel, er pan symmudwyd fy anwiredd,—"Anfon fi." O, y mae'r dŷn y maddeuwyd ei bechod yn barod i ruthro trwy'r dyfroedd a thrwy'r tân, ac i ddannedd Angau ei hun, er mwyn cyflawni ewyllys ei Arglwydd. Aelodau crefyddol, a ydyw ein diolchgarwch i'n Gwaredwr yn ddigon cryf i'n gwneyd yn gennadon drosto? Pan fo arno eisiau rhywun i chwilio am y colledig a'r gwrthgiliedig, neu i ymweled â'r claf a'r anghenog, a fydd pob un o honom yn codi ei law am y cyntaf, gan ddywedyd, "Wele fi, anfon fi"? Y mae'r gofyniad "Pa beth a wnaf fel y byddwyf gadwedig?" yn ofyniad angenrheidiol iawn; er hynny, gofyniad pechadur yw hwnnw—gofyniad dŷn sy'n gofalu mwy am dano'i hun nag am eraill. Dyma ofyniad y neb a gafodd ras: "Arglwydd, pa beth a fynni di i mi ei wneuthur?" Y mae Duw yn ein galw atto yn ei ras, er mwyn ein hanfon allan i wneuthur ei negesau. Y mae yn ddigon i ddŷn waeddi "Gwae fi; darfu am danaf" ryw unwaith yn ei oes, ond y mae yn gweddu iddo ddywedyd "Wele fi, anfon fi" bob dydd a phob awr. Ni ellir disgwyl dim gwaith gan bobl y "Gwae ni"; ymgreinio yn y llwch y bydd y rheini. Pobl y "Wele ni" yw'r bobl siongc.

Goddefwch imi ofyn ichwi cyn dibennu a welsoch chwi yr Arglwydd? A fu helyntion ac anffodion eich oes yn rhyw gymmorth ichwi i'w weled ef? A ydych yn dyfod yn gysson i'w deml er mwyn ei weled? canys yno y gwelir ef amlyccaf. Y ddaear, yn wir, sy'n llawn o'i ogoniant ef; er hynny, yn y deml, sef ynghynnulleidfa'i bobl, y gwelir ei fawr ragorol ogoniant; yno y gwelwch ei odre; yno y clywch y seraffiaid yn canu ac yn cydymatteb; yno yr aroglwch y mwg peraidd sy'n ymddyrchafu oddi ar yr allor.

Gwybyddwch mai'r Duw sy'n llenwi'r deml a ddichon eich llenwi chwithau. Y mae rhyw wangc anniwall ar ddynion am rywbeth nad ŷnt byth yn ei gael. Eisiau Duw sydd arnynt, pe baent yn credu hynny. "Arglwydd," ebe Philip, "dangos ini y Tad, a digon yw ini." O, pe gwelem Dduw, byddem oll ar ben ein digon. Fe'n llenwid wrth edrych arno ef. Efe yn unig a ddichon lenwi pawb a phoppeth. Yr ych yn meddwl pe caech dad neu fam, brawd neu chwaer, priod neu blentyn yn ôl i'ch tŷ, y byddai'r tŷ yn llawn; Duw a ddichon lenwi'r tŷ. Hwyrach fod rhai o honoch yn meddwl pe caech bregethwyr mwy dawnus y byddai'r deml hon yn llawn; godre'r Anfeidrol sy'n llenwi'r deml. Oni ddymunech weled ei odre, a'u clywed yn siffrwd ar lawr y deml hon? Ei odre yn unig a all y saint eu gweled yn eglur ar y ddaear; ond pan elont i'r nef, fe'u codir yn ddigon uchel i weled ei wyneb. Edrychant ar ei wyneb mewn cyfiawnder. Gallant edrych yn ddigyffro, heb ysmician dim, ym myw llygaid y Duw gwyn, am y byddant yn wyn eu hunain.—"A hwy," medd Ioan, "a gânt weled ei wyneb ef." "Gwyn eu byd y rhai pur o gàlon; canys hwy a welant Dduw."

*Ionawr 22, 1902.*

## VII.

## ADDOLI YSPRYD A THAD.

"*Ond dyfod y mae'r awr, ac yn awr y mae hi, pan addolo'r gwir addolwyr y Tad mewn yspryd a gwirionedd: canys y cyfryw y mae'r Tad yn eu ceisio i'w addoli ef. Yspryd yw Duw; a rhaid i'r rhai a'i haddolant ef, addoli mewn yspryd a gwirionedd*—IOAN iv. 23, 24.

WRTH wraig y llefarodd yr Iesu y geiriau pwysig hyn; wrth wraig o Samaria, ac wrth wraig isel ei chyflwr a'i chymmeriad. Ond er mai gwraig anfoesol ydoedd, yr oedd hi fel llawer gwraig o'i bath, yn bur grefyddol yn ei ffordd. Yr oedd yn ymddori ym mhethau crefydd; yn chwannog i siarad am danynt, ac yn disgwyl fel eraill am y proffwyd mawr a addawsai Duw ei anfon i fynegi ei holl feddwl a'i ewyllys. Er ei bod yn siaradus, nid oedd yn hyf; canys yr Iesu a ddechreuodd yr ymddiddan trwy ofyn ganddi lymmaid o ddwfr. Y mae *gofyn* cymmwynas fach gan rywun yn llawn mor effeithiol i fagu teimlad da ag yw *gwneuthur* iddo gymmwynas fawr. Y mae'r mwyaf, wrth ofyn rhywbeth gan y lleiaf, yn dyrchafu hwnnw yn ei olwg ei hun. Wrth ymostwng i ofyn ffafr gan y lleiaf, y mae'r mwyaf yn gwneyd ei hun yn ddyledwr iddo; ac felly yn rhoi iddo gyfleusdra weithiau i dderbyn diolch, yn lle rhoddi diolch yn wastadol. Yr oedd yr Iesu yn deall anian dŷn yn dda; am hynny, cyn gwneyd eraill yn ddyledwyr iddo'i hun, byddai efe yn gyffredin yn gwneyd ei hun yn ddyledwr iddynt hwy. Ni buasai Zaccheus hanner mor ddiolchgar i'r Iesu am ddywedyd wrtho, "Heddyw y daeth

iachawdwriaeth i'r tŷ hwn," pe na buasai'r Iesu wedi dywedyd yn gyntaf oll, "Zaccheus, rhaid i mi heddyw aros yn dy dŷ di." Agorodd yr Iesu gàlon Zaccheus i dderbyn peth mawr, trwy ei hagor yn gyntaf i roddi peth bach. Yr un ffunud, cyn cynnyg i'r wraig o Samaria ddwfr ysprydol, gofynnodd y Gwaredwr ganddi ddwfr naturiol. Yr oedd achos i'r Iesu geisio ennill serch ac ymddiried y wraig hon, trwy appelio at yr hyn a oedd hael a charedig yn ei natur; canys nid oedd yr Iddewon yn ymgyfeillach â'r Samariaid. Yr oedd cyn gased gan yr Iddewon bobl Samaria, fel na fynnent roddi dim iddynt na derbyn dim ganddynt; am hynny, pan y byddent yn myned trwy Samaria i Galilea, gofalent am gymmeryd gyd â hwynt ddigon o ymborth; fel na byddai raid iddynt ofyn am ddim gan y Samariaid, yn rhad nac am arian chwaith. Am y rhan fwyaf o honynt, yr oedd yn well ganddynt fyned o amgylch dros yr Iorddonen a thrwy Perea i Galilea na myned yno ar hyd y ffordd unionaf trwy Samaria. O achos yr ymddygiadau dirmygus hyn, y mae yn hawdd ini ddyfalu nad oedd teimlad y Samariaid tu ag at yr Iddewon fawr well na theimlad yr Iddewon tu ag at y Samariaid.

Pa ham nad ydoedd yr Iddewon yn ymgyfeillach â'r Samariaid? Am nad oedd y rhain o'r un gwaed, nac yn hollol o'r un grefydd a hwynt-hwy. Assyriaid oedd y Samariaid wedi ymgymmyscu â'r ychydig o Israeliaid tlodion a adewsid yn y wlad pan y darfu am deyrnas y deg llwyth. Pan ddychwelodd y rhai mwyaf gwladgar o'r Iddewon, sef gweddillion y ddau lwyth arall, o Babilon, a dechrau adeiladu teml yNghaersalem, gofynnodd y Samariaid am ganiattâd i'w cynnorthwyo, a phan orphennid y deml, i gydaddoli â hwynt ynddi; a chan na fynnodd pennaethiaid yr Iddewon ganiattàu hynny iddynt, fe ddarfu iddynt hwythau annog Brenin Persia i attal y gwaith. Ond dyma'r pethau a barodd i'r

Iddewon ddigio dros byth wrth y Samariaid, sef gwaith y Samariaid yn derbyn yn groesawgar yr Iddewon hynny a oedd yn naccàu ymostwng i ddeddfau caeth Nehemia; eu gwaith yn cyfodi teml iddynt eu hunain ar fynydd Gerizim, ac yn ceisio profi o bummed llyfr Moesen mai hwnnw oedd y lle mwyaf cyssegredig yngwlad Canaan, a'u gwaith yn ordeinio brawd archoffeiriad Caersalem, a daw Sanbalat, yn archoffeiriad yn eu teml newydd. Ar ôl cael y deml hon, lleihaodd y llid o du'r Samariaid, ond fe ailennynnwyd eu llid yn fwy nag eriôed pan y darfu i Ioan Hyrcanus, archoffeiriad yr Iddewon, ddinistrio'u teml, ryw gant a dêng mlynedd ar hugain cyn Crist. Yn ninas Damascus y codasant eu hail deml; er hynny, yr oedd mynydd Gerizim o hyd yn fwy cyssegredig yn eu golwg na'r deml honno.

Er culed oedd yr Iddewon, yr oedd eu Bibl hwy yn helaethach na Bibl y Samariaid; canys yr oeddynt hwy yn credu ddarfod i Dduw lefaru nid yn unig trwy Moesen, ond hefyd trwy'r proffwydi, a dynion santaidd eraill. Y llyfrau offeiriadol yr ydys yn eu priodoli i Moesen oedd holl Fibl y Samariaid; a chan nad yw'r llyfrau hynny, ar wahân i air sicrach y proffwydi, ddim yn rhoi syniad teg am Dduw, dywedodd yr Iesu fod y Samariaid yn addoli'r peth ni wyddent. "Iachawdwriaeth sydd o'r Iddewon"; canys eiddynt hwy yw'r tadau a'r proffwydi, y rhai sy'n dywedyd pethau gwell am Dduw nag yr oedd gwaed yr aberthau yn eu dywedyd; ïe, eiddynt hwy yw'r Iachawdwr ei hun, yn ôl y cnawd. Ond er fod gan yr Iddewon ddadguddiad llawnach o Dduw nag oedd gan y Samariaid, etto rhoes yr Iesu ar ddeall i'r wraig o Samaria nad oeddynt hwythau, mwy na'r Samariaid, ddim yn iawn-synio am Dduw, nac felly yn ei iawn-addoli chwaith. Gan eu bod yn chwilio'r Scrythyrau, ni all nad oeddynt hwy yn gwybod mai yspryd yw Duw, a bod yr yspryd hwnnw

yn Dad pawb oll; er hynny, yr oeddynt yn addoli Duw mewn modd mor anianol, ac yn ymddwyn mor anfrawdol tu ag at eu cyd-ddynion o wledydd eraill, a phe buasai'r ddau wirionedd hyn yn anhyspys iddynt. Gan mai Yspryd yw Duw, dylasent wybod nad mewn temlau o waith dwylaw y mae efe yn trigo; a chan fod Duw yn Dad, dylasent wybod fod y Samariaid a phawb yn blant iddo, ac felly yn frodyr iddynt hwythau. Yr oeddynt hwy a'r Samariaid, wrth ymgecru ynghylch y lle yr oedd yn rhaid addoli, yn dangos eu bod mor anianol a'u gilydd; canys nid ar y man eithr ar y modd yr ydys yn addoli y mae Duw yn edrych.

Y mae'r adnodau a gymmerwyd yn destyn ym mhlith y rhai pwysiccaf yn y Bibl, am eu bod yn mynegi pa beth ydyw Duw, a phwy ydyw ei wir addolwyr. Y mae yn wir nad yr Iesu oedd y cyntaf i fynegi'r ddau beth hyn; ond efe, yn anad neb o'i flaen, a roes iddynt eu lle dyladwy mewn crefydd, ac efe oedd yr un a'u traethodd yn y modd mwyaf eglur a phendant. Yr oedd Selyf ac Esay wedi mynegi fod Duw yn yspryd; ond yr Iesu a fynegodd mai yspryd ydyw Duw. Hyd yn oed pan ddywedodd Ioan ar ei ôl mai goleuni yw Duw, ac mai cariad yw, dywedyd yr ydoedd yn hytrach pa beth ydyw Duw o ran ei gymmeriad, ac nid pa beth ydyw o ran ei natur. O ran ei natur, yspryd yw Duw; o ran ei gymmeriad, goleuni a chariad yw; ac o ran ei berthynas â dynion, Tad yw. Yr un ffunud, yr oedd y proffwydi hwythau, o Samwel hyd Malachi, wedi tystiolaethu fod ufuddhau yn well na brasder hyrddod; fod lloi y gwefusau yn well na lloi y beudai; fod ffrwyth y gwefusau yn well na ffrwyth y ddaear, a bod aberth moliant yn fwy cymmeradwy na phob aberth arall; er hynny, yr Iesu a grynhoes ddysceidiaeth y proffwydi a'r Salmau, ac a ddangosodd yn olau fod gwir addoli yn dyfod o wir adnabod Duw o ran ei natur ac o ran ei berthynas.

Y mae i grefydd ddwy ochr, sef yr ochr sydd â'i hwyneb tu ag at Dduw, a'r ochr sydd â'i hwyneb tu ag at ddŷn. Y mae addoli yma yn golygu'r ochr ddwyfol i grefydd, yr hon y byddys yn ei galw weithiau yn dduwioldeb. Y mae addoliad yn cynnwys dwy elfen, sef cariad a pharchedigaeth. Nid ydys yn addoli Duw wrth ei garu yn unig, nac wrth ei barchu yn unig. Wrth ei garu a'i barchu yr ydys yn ei addoli. Yr ydys yn caru Duw, yn bennaf, o blegid ei fod yn Dad, sef o blegid ei fod yn hawddgar; yr ydys yn ei barchu, yn bennaf, o blegid ei fod yn Yspryd, sef o blegid ei fod yn fawr. Byddys yn dywedyd am ambell fam ei bod yn addoli ei baban; ond nid yw hynny yn wir am un fam; canys pa mor fawr bynnag y bo'i chariad ar ei phlentyn, y mae yn annichon iddi barchu baban, am ei fod ef yn rhy ddiallu, ac yn rhy fychan ym mhob peth, i ennyn teimlad o barch tu ag atto ym mynwes neb; a lle nad oes parchedigaeth nid oes yno ddim addoliad. Y mawr yn unig a ellir ei barchu—y mawr ei ddawn, y mawr ei ddysc, y mawr ei nerth, y mawr ei gadernid, y mawr ei ras. Felly, er nad yw yn wir fod un fam yn addoli ei phlentyn, y mae yn wir fod llawer gwraig yn addoli ei gŵr; am fod mewn gŵr ryw fawredd neu gilydd, y sy'n ei wneyd yn ddŷn parchadwy. Wedi'r cwbl, Duw yn unig sy'n haeddu ei addoli yn ddifesur; efe sy'n haeddu ei garu â'r holl galon, a'i barchu â'r holl yspryd; canys efe yn unig sydd oll yn hawddgar, ac efe yn unig sydd anfeidrol fawr. Y mae'r saint yn ei garu ef yn fwy am eu bod yn ei barchu, ac yn ei barchu yn fwy am eu bod yn ei garu; canys yn ysprydol, fel yn naturiol, nid oes cariad dwfn heb barch, ac nid oes parch gwirioneddol heb gariad. Lle bynnag y bo parch a chariad ar Dduw yn cydfod â'u gilydd, ac yn cyfnerthu eu gilydd, y mae yno addoliad.

Y mae'r sylwadau a wnaethpwyd yn dangos mai teimlad yw addoliad, ac nid gwaith—rhywbeth mewnol, ac nid allanol; ac fel peth mewnol y mae'r Iesu yn ei olygu yn y testyn. Yr ŷm ni yn chwannog i feddwl fod addoli yn gynnwysedig mewn ymgyfarfod mewn rhyw le neillduol i ddarllen a phregethu a gweddïo a chanu. Ffurfiau ar addoli yw'r holl bethau hyn; a gall y ffurfiau fod lle na bo dim addoli; ïe, gall addoli fod lle na bo dim ffurfiau. Pa le bynnag, a pha bryd bynnag y bo dŷn yn ymddyrchafu mewn myfyrdodau, mewn dymuniadau ac mewn diolchgarwch, at y Duw byw, y mae'r dŷn hwnnw yn addoli mewn yspryd a gwirionedd. Dan yr efengyl, y mae pob sant yn offeiriad, pob lle yn lle santaidd, a phob diwrnod yn ddiwrnod cyssegredig. Nid personau neillduol a lleoedd neillduol ac amserau neillduol sy'n rhoi gwerth ar addoliad; yr addoliad yn hytrach sy'n rhoi gwerth arnynt hwy. Y mae'r awr *wedi* dyfod er ys talm pryd nad ydys yn addoli'r Tad nac ym mynydd Gerizim nac yn ninas Caersalem; ac y mae'r awr yn dyfod pan nad addoler y Tad mewn teml o fath yn y byd; canys pan ddelo'r Gaersalem newydd i waered o'r nef i'r ddaear, yr Arglwydd Dduw Hollalluog a'r Oen a fydd teml y saint. Pan ddelo tro ar fyd, ni bydd eisiau athrawon a phregethwyr; canys "ni ddysc dynion mwyach bob un ei gymmydog, a phob un ei frawd, gan ddywedyd, Adnabyddwch yr Arglwydd; o herwydd hwynt-hwy oll o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf o honynt, a'm hadnabyddant, medd yr Arglwydd." Ni bydd eisiau Bibl; canys "ar ôl y dydd iau hynny, medd yr Arglwydd, myfi a roddaf fy nghyfraith o'u mewn hwynt, ac a'i scrifennaf yn eu calonnau." Nid rhaid fydd troi y Sul yn Sabboth; canys yn amser adferiad pob peth, bydd holl ddyddiau yr wythnos yn amseroedd i orphwys o olwg yr Arglwydd. Ond cofier mai'r eglwys yn ei pherffeithrwydd, wedi cyrraedd o

honi oedran a maintioli gŵr, sy gan yr Iesu a'r proffwydi a'r apostolion mewn golwg yn y geiriau a ddyfynnwyd; ac, ysywaeth, nid ydyw'r eglwys etto yr hyn a ddylasai hi fod; a gellir dywedyd wrth y rhan fwyaf o'i haelodau yn niwedd yr oes hon, fel yn niwedd yr oes gyntaf, "Lle y dylech fod yn athrawon o ran amser, y mae arnoch drachefn eisiau dyscu ichwi beth ydyw egwyddorion dechreuad ymadroddion Duw, ac y mae yn rhaid ichwi wrth laeth ac nid bwyd cryf." Plant o hyd ŷm ni gan mwyaf, a hynny o achos ein muscrellni ein hunain; am hynny, y mae yn rhaid ini wrth athrawon i'n dyscu, wrth lyfr i'n dyscu, wrth leoedd ac wrth amserau i'n dyscu. Cyhoeddi gair y deyrnas, sef egwyddorion teyrnas nefoedd, oedd gwaith Crist ar y ddaear, ac nid sefydlu unrhyw drefnedigaeth eglwysig, er hynny, buan y gwelodd yr apostolion fod yn rhaid wrth ryw drefniadau eglwysig i ledaenu'r egwyddorion hynny; er nad oedd y trefniadau hynny ddim yr un fath ym mhob man ac ym mhob cyfnod. Er mai'r apostolion a luniodd deyrnas nefoedd yn eglwys; etto gellir dywedyd mai'r Iesu a sylfaenodd yr eglwys; canys nid oedd efe, wrth ddilèu addoliad ffurfiol, ddim yn dilèu addoliad cymdeithasol. Gwnaem gam â geiriau Crist yn y testyn, pe dywedem fod addoliad ysprydol yn gyfystyr âg addoliad personol yn unig. Gall addoliad ysprydol fod yn bersonol ac yn gymdeithasol, yn ddirgel ac yn gyhoeddus; ac fel rheol, y rhai sy barottaf i addoli ar eu pen eu hunain, sy barottaf i gyd-addoli âg eraill. Nid da bod dŷn ei hunan yngwinllan Crist mwy nag yngardd Eden. Y mae dŷn yn greadur cymdeithasgar; ac os yw cymdeithas yn fuddiol iddo mewn cylch cyffredin, y mae hi yn fuddiol iddo yn y cylch crefyddol hefyd. Wrth ymgyfarfod â'n gilydd y gallwn ni gael cyfleusdra i galonnogi ac i gyfnerthu'n gilydd. Mewn gwirionedd, nid oes gan neb escus digonol am ymneillduo oddi wrth ei

frodyr yn y ffydd; canys os yw yn rhy fawr i dderbyn, nid yw yn rhy fawr i roddi; ac os yw yn rhy fach i roddi, nid yw yn rhy fach i dderbyn; os yw yn rhy ddyscedig i fod yn ddiscybl, nid yw yn rhy ddyscedig i fod yn athraw; ac os yw yn rhy annyscedig i fod yn athraw, nid yw yn rhy annyscedig i fod yn ddiscybl. Y mae'r Cristion yn gallu gweddïo yn well ar ei ben ei hun o weddïo weithiau gyd â'i frodyr, ac yn gallu canu a phyngcio yn well yn ei gàlon o ganu a phyngcio â'i enau hefyd. Od oes i ni gymdeithas â'r Tad ac â'i Fab ef, Iesu Grist, y mae i ni gymdeithas â'n gilydd hefyd; ac od ŷm oll yn gyfrannog o yspryd ein Pen a Thywysog ein ffydd, y mae'r yspryd hwnnw yn ein cyfuno yn un corff. Tra bo yspryd Crist yn ein bywioccàu, yr ŷm yn gorff ysprydol, ac yn rhoddi i Dduw addoliad ysprydol; ond heb yspryd Crist ynom, corff y farwolaeth ŷm, a gweithredoedd meirwon yw holl rannau'n haddoliad. Yn amgylchiadau presennol yr eglwys a'r byd, y mae anghenraid ar Gristionogion ymgyfarfod mewn lleoedd ac adegau neillduol; ond na thybiwn fod hynny arno'i hun yn addoliad; canys nid y ffurf neu'r gwasanaeth ydyw'r addoliad, eithr y teimlad y bwriadwyd i'r ffurf fod yn gymmorth iddo, neu yn amlygiad o hono. Na thybiwn mai yn y capel neu ar y Sul yn unig y mae yn rhaid addoli; canys nid y lle a'r amser sy'n cyssegru'r addoliad, eithr yr addoliad sy'n eu cyssegru hwynt. Pe cedwid cyfarfod gweddïo mewn tŷ annedd ar noson waith, dylid ymddwyn mor weddus yno a phe bâid yn addoli yn yr eglwys wychaf yn y wlad. Cyffyrddiad yspryd Duw âg yspryd dŷn sy'n gwneyd lle yn ofnadwy; am hynny, pe baet yn unig un ar ganol y maes, heb ond un garreg yn agos attat, gallet ddywedyd, "Nid oes yma onid tŷ i Dduw, a dyma borth y nefoedd.' Yr ŵyf fi erîoed yn methu â deall pa ham y mae cynnifer o ieuengctid yr Eglwysi Rhyddion yn ymddwyn mewn

capel ac yn ymyl capel gymmaint mwy anweddus nag y beiddient ymddwyn mewn eglwys; er hynny, nid ŵyf yn gofyn iddynt ymddwyn yn weddusach o achos fy mod yn credu fod coed a meini capel yn santeiddiach na choed a meini rhyw adeilad arall, eithr yn unig am fod ynddo rai yn addoli'r Duw Goruchaf. Oni wyddoch chwi fod yma heddyw yscol â'i phen yn cyrhaedd i'r nefoedd, a bod angylion Duw yn escyn ac yn discyn ar hyd-ddi er mwyn rhoddi a derbyn? Da chwi, gyfeillion ieuaingc, gwyliwch rhag gwneuthur dim i darfu'r angylion hynny, ac i dorri'r cymmundeb rhwng yr Arglwydd a'r rhai sy'n disgwyl wrtho, onid e, bydd y canlyniadau yn waeth nag yr ych chwi yn awr yn meddwl. Ond, meddaf, ai ar ddydd Sul yn unig y dylem fucheddu fel pe baem dan lygad yr Hollwybodol? Ai'r capel neu'r eglwys yn unig yw'r lle y mae yn rhaid addoli? Nage, ddim; yr ŷm yn addoli yma heddyw, fel y dyscom addoli bob amser ac ym mhob man. Os ŷm yn gwir addoli yn y deml fach hon a wnaed gan ddynion, yna fe addolwn ar ôl myned allan i'r deml fawr a wnaed gan Dduw; ac yn ben ar y cwbl, fe addolwn yn ein càlon ein hunain; canys y mae honno yn deml fwy a godidoccach na'r greadigaeth. Nid am Gerizim nac am Gaersalem: nid am y lle y mae Duw yn malio, eithr am y teimlad. Addoli mewn yspryd a gwirionedd yw'r unig addoli sy'n gymmeradwy yn ei olwg ef.

Er fod yr ymadrodd "mewn yspryd a gwirionedd" yn gyssylltedig â'r enw Tad ac â'r enw Yspryd, etto, y mae yn debygol fod y geiriau "mewn yspryd" yn cyfeirio yn bennaf at Dduw fel Yspryd, a'r geiriau "mewn gwirionedd" yn cyfeirio at Dduw fel Tad. Rhaid addoli'r Duw sy'n Yspryd *mewn* yspryd; ac addoli'r Duw sy'n Dad, mewn gwirionedd.

Bellach, ar ôl ymofyn pa beth yw addoliad ar wahân i le neillduol ac i amser neillduol, af rhagof i wneyd ychydig o sylwadau ar y ddau beth hyn:

I. I addoli Duw mewn yspryd, rhaid ini iawn synio am ei natur, trwy gredu mai Yspryd yw yntau.

II. I addoli Duw mewn gwirionedd, rhaid ini iawn synio am ei berthynas â ni, trwy gredu ei fod yn Dad.

I. *I addoli Duw mewn yspryd, rhaid ini iawn synio am ei natur, trwy gredu mai Yspryd yw yntau.* Yr ŷm yn addoli Duw mewn yspryd wrth ei addoli *â*'r yspryd, sef â rhan oruchaf ein natur—y rhan y sy'n gallu ymgydio â'r Yspryd tragwyddol ac anfeidrol. "Y mae yspryd mewn dŷn, ac ysprydoliaeth yr Hollalluog sy'n gwneuthur i ddynion ddeall;" hynny ydyw, dylanwad yspryd Duw ar yspryd dŷn sy'n galluogi dŷn i synio am bethau ysprydol. Y mae gennyf gorff, ond marwol yw hwnnw; y mae gennyf enaid, ond y mae'r Bibl yn dywedyd y gellir distrywio hwnnw; ond y mae fy yspryd yn hedeg uwch law marwoldeb, ac yn chwerthin am ben dinistr. Ffun anadl yr Hollalluog yw efe; pelydr o'i oleuni ef; gwreichionen o'r tân dwyfol; am hynny, "efe a ddychwel at Dduw, yr hwn a'i rhoes ef." Y mae fy nghorff yn rhy fatterol i ymasio â Duw; fy enaid yn rhy fyr ei adenydd i ymgodi hyd atto ef; ond y mae fy yspryd yn ymgyffwrdd â'i yspryd ef, ac yn gyfryw o ran ei natur fel y gellir ei wneyd yn gyfrannog o'r dduwiol anian, sef o'r ddwyfol natur. Trwy fy yspryd, y mae gennyf ryw syniad am yr Anfeidrol, y Tragwyddol, y Digyfnewid a'r Perffaith. Oni buasai fod gennyf allu i ymgymmuno âg ef â'r yspryd, ofer fuasai iddo ddywedyd wrthyf fod yn rhaid imi addoli *mewn* yspryd. Er hyn oll, gan fod yr yspryd sydd ynom yn trigo mewn corff, yr ŷm yn dra chwannog i edrych ar Dduw trwy lygaid y corff.

Wrth ofalu cymmaint am y corff a'r enaid, yr ŷm yn anghofio fod gennym yspryd ein hunain, ac wrth hynny yn anghofio mai yspryd yw Duw. Oni syniwn am Dduw fel Yspryd, synio a wnawn am dano fel bod matterol; ac felly, fel bod cyfyngedig gan amser a lle. Yspryd yn unig a ddichon fod yn anfeidrol; ac oni chredwn fod Duw yn anfeidrol, ni allwn mo'i addoli fel y dylid ei addoli. Ni ddichon i ni y sy'n feidrol, ac, yn wir, ni raid i ni, amgyffred anfeidroldeb; ond fe ddichon ini gredu llawer peth, a synio am dano, heb ei amgyffred. Sylwer nad ŵyf yn dywedyd y dylem gredu dim ar na allwn synio am dano—dim a'r sydd afresymmol ynddo'i hun; ond nid oes dim yn afresymmol mewn credu fod Duw yn anfeidrol; yn hytrach, y mae yn fwy rhesymmol credu hynny na'i anghredu; a chan fod y peth yn rhesymmol, gallwn ninnau synio am dano, er na allwn ei amgyffred. Yn wir, y mae yn haws i ni hyd yn oed amgyffred hynny nag oedd i'r Iddewon a'n tadau wneyd hynny, canys y mae'r *greadigaeth* a ddadguddiwyd i ni yn fwy o lawer na'r greadigaeth y gwyddent hwy am dani. Y blaned fach hon yr ydys yn ei galw yn ddaearen, oedd eu byd mawr hwynt. Un haul oedd ganddynt hwy yn y gwagle, a hwnnw mor fychan ac mor agos fel yr oeddynt yn tybied ei fod yn troi bob dydd a amgylch y ddaear. Y wybren las, a ddescrifient hwy yn do caled, oedd terfyn eithaf eu creadigaeth hwynt. Gan fod eu byd yn llai na'n byd ni, yr oedd eu Duw hefyd yn llai na'n Duw ni. Y mae un o feirdd gorau'r Hebreaid yn mesur yr Anfeidrol megis â llinyn, ac yn dywedyd ei fod o ran ei hyd yn cyrraedd o uffern (yr hon a dybid ei bod ynghanol y ddaear) hyd i entrych nef; a'i fod o ran ei led yn cyrraedd oddi wrth adenydd y wawr yn y dwyrain hyd i eithafoedd y môr yn y gorllewin. Ac nid yw syniad y bardd rhagorach o wlad Uz fawr ehangach na syniad y bardd o wlad Israel; canys hyn y mae yn ei

ddywedyd am Dduw: "Cyfuwch a'r nefoedd ydyw; dyfnach nag uffern yw. Y mae ei fesur ef yn hŵy na'r ddaear ac yn lletach na'r môr." Y mae'r Creawdr etto yn fwy na'i greadigaeth; ac am hynny gallwn ni ddywedyd fod Duw nid yn unig yn fwy na hynny o fôr a daear y gwyddai scrifenwyr yr Hên Destament am danynt, ond hefyd yn fwy na'r holl greadigaeth eang a ellir ei chanfod trwy ddrychau seryddion y dyddiau diweddaf hyn. Y mae darganfyddiadau'r gwyddoniaid hyn yn fath o ddadguddiad newydd o waith y Creawdr; a dylai dadguddiad o'i waith fod i ni yn ddadguddiad llawnach o hono ef ei hun. Y mae Duw yn y dyddiau hyn yn dangos ini fod y byd yn fawr, er mwyn dangos ini ei fod ef ei hun yn fawr; ac yn dangos ini ei fod ef ei hun yn fawr, er mwyn ein cyffroi i'w addoli. Mawredd Duw sy'n peri i ddynion ei barchu a'i edmygu; ac fel y dywedwyd o'r blaen, nid oes addoliad heb barchedigaeth. Ac nid mawr o'i gymharu â'r greadigaeth ydyw Duw; y mae yn fawr ynddo'i hun—yn anfeidrol fawr. Ac y mae efe yn anfeidrol am ei fod yn yspryd. Pe matter a fuasai Duw, ni allasai fod yn anfeidrol ac yn holl bresennol, am y buasai ei greadigaeth ef ei hun yn ei lesteirio; a pho mwyaf y greadigaeth, lleiaf oll o le a fuasai i'r Creawdr. Ond yspryd yw Duw; ac am hynny, y mae efe nid yn unig mewn rhyw wagle a all fod y tu allan i'r greadigaeth, neu wagleoedd rhwng gwahanol rannau'r greadigaeth, ond hefyd yn y greadigaeth a thrwy'r greadigaeth. Y mae yn dda i ni mai yspryd anfeidrol ydyw Duw; canys am ei fod yn yspryd felly y mae yn gallu bod yn agos attom bob amser ac ym mhob man. Hwyrach fod rhyw bererin yn ei addoli heddyw ar adfeilion teml Caersalem; un arall ar y llannerch y bu teml Gerizim yn sefyll arni gynt, ac un arall yn y deml hon.—Y mae Duw yn amgylchu ac yn llenwi'r tri, a hynny ar yr un pryd. Y mae yn anweledig, yn ddiau;

ond y mae dy yspryd di dy hun yn anweledig; ac er hynny, yr ŵyt yn credu fod yspryd gennyt; ac y mae gennyt gystal achos i gredu fod yspryd Duw yn gweithredu ar dy yspryd di a bod dy yspryd di yn gweithredu ar dy gorff. Felly, er mai ystyriaeth ofnadwy yw'r ystyriaeth fod Duw yn yspryd, etto, y mae hi yn ystyriaeth gyssurol hefyd i'r rhai sy'n cofio fod yr yspryd hwnnw yn Dad.

Y mae hyn yn ein dwyn at yr ail ben, sef hwn: *I addoli Duw mewn gwirionedd, rhaid ini iawn synio am ei berthynas a ni, trwy gredu ei fod yn Dad.* Er mai am fod Duw yn Yspryd yr ydys yn ei barchu, etto, am ei fod yn Dad yr ydys yn ei garu. Ni ellir addoli Duw mewn gwirionedd heb wybod ei fod yn Dad; canys Duw Dad sy'n Dduw gwirioneddol i ni. Duw megis ar chwâl—Duw na allwn gael llawn afael arno, yw yspryd noeth; ond wrth ddadguddio'i hun yn Dad, y mae Duw megis yn ymgrynhoi ynddo'i hun, ac yn sefyll ger ein bron fel person a pherthynas. Nid ŵyf yn dywedyd yn bendant fod Duw yn berson; am nad oes gennyf Scrythyr wrth fy nghefn, oddi eithr un adnod na chyfieithiwyd moni yn gywir. Fe ddichon fod Duw yn rhywbeth amgenach na pherson; er hynny, gan mai personoliaeth yw'r ffurf uchaf ar fod y gwyddom ni am dani, ni chyfeiliornwn lawer wrth gredu fod Duw yn berson. Y mae yn sicr nad *peth* yw Duw, canys y ffurf isaf ar fod yw *peth;* er hynny, addoli *peth* a wnelem ni, fel y Samariaid, ac nid addoli bod o'r fath uchaf, pe credem mai Yspryd yn unig yw Duw, heb gredu ei fod yn Dad hefyd. Boed Duw yn berson neu yn rhywbeth uwch na pherson, y mae efe i ni yn gystal a pherson; canys y mae yn Dad. Y mae yn rhywun sy wedi'n gwneuthur ar ei ddelw ei hun, ac wedi cyfrannu ini ei naturiaeth ei hun, am ei fod yn dad ein hysprydoedd, ac

felly yn rhywun sy'n ein caru ac yn ewyllysio cael ei garu gennym. O! ni buasai'r Iesu byth yn ei alw "y Tad," pe na buasai'r Tad hwn yn fwy o dad na phob tad arall. Nid ŵyf yn ofni y digiaf Dduw wrth gredu fod ei gàlon cyn anwyled a'i enw. Oni chlywi di yr hwn a ddywedodd mai Yspryd yw Duw, yn dywedyd wrthyt hefyd, Wele dy Dad. Oni chlywi di'r Tad hwnnw yn dywedyd wrth hwn, Fy mab, ac wrth hon, Fy merch, ac yn dywedyd wrth blant yn sugno, Fy machgen bach; Fy ngeneth anwyl. A ydyw yn rhyfedd gennyt fod y Duw mawr yn gymmaint o ddŷn! Cofia mai Tad yw. Y mae efe yn wir Dad; am hynny gwir addolwn ef, trwy ei addoli mewn yspryd a gwirionedd; "canys y cyfryw addolwyr y mae'r Tad yn eu ceisio i'w addoli ef."

Pa beth y mae'r Tad yn ei wneyd yma yr awr hon? Ceisio dynion i'w addoli ef ei hun. Y mae Duw mor fawr ac mor dda fel nad yw yn anweddus iddo ef synio ei fod yn haeddu ei barchu a'i garu gan bawb. Wrth ei addoli ef, fe'n dyrchafwn ein hunain ac fe awn yn debyg i wrthddrych ein haddoliad—mor debyg iddo fel y dywed wrthym ryw ddiwrnod. "Duwiau ydych, a meibion y Goruchaf ydych chwi oll." Os mynnwn ddechrau ein nefoedd ar y ddaear, addolwn y Tad; canys addoli yw gwaith uchaf y saint ar y ddaear, ac addoli a fydd gwaith uchaf saint ac angylion yn y nef hefyd. Y mae gennym achos i ddiolch i'r Tad am lawer peth; ond nid am ddim yn gymmaint ag am y gallu a'r cyfleusdra i'w addoli ef ei hun.

A oes yma fab afradlon yn dyddfu gan newyn yn y wlad bell? Dyweded, "Mi a godaf ac a af at fy nhad." A oes yma ryw ddiscybl i Grist newydd gwympo i bechod? Dyweded, "Ni phechaf mwyach, rhag imi weled y gofid a gaiff fy nhad." Pechu yn erbyn dy Dad yr ydwyt wrth fyw yn annuwiol; a phe baet yn dippyn bach o ŵr boneddig yn dy ffordd ac o ran dy deimlad, byddai yn fwy anawdd gennyt *dristàu* tad na digio brenin.

## VIII.

## Y GORCHYMMYN MAWR.

"*Ac un o honynt, yr hwn oedd gyfreithiwr, a ofynnodd iddo, gan ei demtio, a dywedyd, Athraw, pa un yw'r gorchymmyn mawr yn y gyfraith? A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Ceri yr Arglwydd dy Dduw â'th holl gàlon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl feddwl. Hwn yw'r cyntaf a'r gorchymmyn mawr.*—MATH. xxii. 35—38.

AR y golwg cyntaf, y mae yn anawdd dyfalu pa ham y gofynnodd y cyfreithiwr hwn i'r Iesu gwestiwn a oedd mor hawdd ei atteb. Fe welir fod Mathew yn dywedyd mai "gan ei demtio," sef er mwyn profi'r Iesu, y gofynnwyd iddo pa un oedd y gorchymmyn mawr yn y gyfraith; ond gan fod yr Iesu newydd atteb gofyniad anhawddach, y mae yn anawdd gweled pa fodd y gallai'r gofyniad hawdd hwn fod yn brawf arno. Nid oedd ond un atteb i'w roi i'r gofyniad hwn; ac yr oedd y cyfreithiwr ei hun, a phob Iddew darllengar arall, yn gwybod yr atteb hwnnw yn llawn cystal a'r Iesu. Yn wir, yr oedd cyfreithiwr arall, er ys talm cyn hyn, wedi gofyn peth cyffelyb i'r Iesu; a phan droes yr Iesu y gofyniad yn ôl iddo trwy ofyn: "Pa beth sy scrifennedig yn y gyfraith? pa fodd y darlleni?" attebodd y cyfreithiwr hwnnw yr Iesu yn yr un geiriau ag y mae'r Iesu ei hun yn atteb y gofyniad hwn. Y mae hyn yn ddigon i ddangos na holodd y cyfreithiwr hwn mo'r Iesu er mwyn profi ei wybodaeth o'r Scrythyr Lân. Ond y mae'r hyn sy'n dywyll yn hanes Mathew yn lled olau yn hanes helaethach Marc. Yn ôl Marc, attebodd yr Iesu y cyfreithiwr trwy ddyfynnu adnod arall o'r Hên Destament, heb law

y ddwy adnod a geir yma, sef yr adnod bwysig hon: "Clyw Israel, yr Arglwydd ein Duw, un Arglwydd yw." Gan fod yr Iddewon yn cyhuddo'r Iesu o wneuthur ei hun yn gystal a Duw, gofynnodd y cyfreithiwr ei gwestiwn er mwyn gwybod beth oedd syniad yr Iesu am undod y Duw hwnnw. Felly, er nad oedd y cwestiwn yn brawf ar wybodaeth yr Iesu, yr ydoedd yn brawf ar ei syniad am dano'i hun, ac am yr unig wir Dduw.

Pa un bynnag ai er mwyn maglu'r Iesu ai er mwyn rhoi iddo gyfle i ymlanhau y darfu i'r cyfreithiwr ei holi ef, y mae yn ymddangos iddo gael ei gwbl foddloni yn yr atteb; canys y mae yn dywedyd, "Da, Athraw, mewn gwirionedd y dywedaist mai un Duw sydd, ac nad oes arall ond efe; a'i garu ef â'r holl gàlon, ac â'r holl ddeall, ac â'r holl enaid, ac â'r holl nerth, sy fwy na'r holl boeth-offrymmau a'r aberthau." Fe welir nad yw'r cyfreithiwr, na'r Iesu chwaith, yn dyfynnu'r adnod hon o'r Hên Destafen yn hollol fanwl; ond y maent ill dau yn rhoi ei hystyr yn gywir; a pha beth ydyw ei hystyr amgen na hyn?—Cared dŷn yr Arglwydd â'i holl gynneddfau ac â'i holl alluoedd. Yn lle dywedyd "â'i holl nerth," y mae'r Iesu, yn ôl Mathew, yn dywedyd "â'i holl feddwl"; am fod nerth, sef nerth yr ewyllys, *yn* y meddwl; neu hwyrach ei fod yn chwanegu'r ymadrodd "â'th holl feddwl," ac yn bwrw ystyr yr ymadrodd "â'th holl nerth" i'r ymadrodd "â'th holl enaid." Y mae hyn yn gwneyd y peth yn symlach i'r cyffredin; canys athronyddion yn unig a all wahaniaethu yn fanwl rhwng y serch a'r ewyllys. Gan nad oedd yn wiw i'r Iesu gyfrif ei holl wrandawyr yn athronyddion dyscedig, yr oedd yn iawn iddo olygu'r enaid nid yn unig yn ffynhonnell y serchiadau, ond hefyd yn ffynhonnell yr ewyllysiau; canys, fel y dywedwyd o'r blaen, nerth yr ewyllys yw meddwl "nerth" yn yr ymadrodd, "Câr yr Arglwydd â'th holl nerth."

Sylwer ym mhellach nad yw'r Iesu yn cymmeryd arno fynegi dim newydd wrth ddywedyd mai caru Duw a charu cymmydog yw dyledswydd fawr dŷn. A llefaru yn briodol, nid gorchmynion a ddadguddiwyd drwy'r efengyl ydyw'r gorchmynion mwyaf, eithr y gorchmynion sy'n dyfod o reswm a chydwybod a greddf dŷn; neu, mewn geiriau eraill, y gorchmynion sy'n gyffredinol a thragwyddol. Wrth enwi'r gorchmynion, y mae'r Iesu a'i apostolion bob amser yn gosod mwy o bwys ar orchmynion moesol y gyfraith nag ar ei gorchmynion pendant. Cariad oedd cyflawnder cyfraith Moesen, a chariad yw cyflawnder cyfraith Crist hefyd. Ni allodd ac ni cheisiodd yr Iesu ddangos fod un ddyledswydd fwy na charu. Y cwbl a wnaeth efe oedd dangos fod gwir gariad ar Dduw yn cynnwys ffydd ynddo yntau fel anfonedig Duw. Y mae gorchymmyn mawr y Testafen Newydd i'w gael yn yr Hên Destafen hefyd; ond y mae yn yr Hên Destafen lawer o orchmynion eraill nad ydynt fawr; ïe, y mae ynddo rai gorchmynion nad ŷnt *dda* ynddynt eu hunain; canys dywedodd Duw yn eglur trwy Ezeciel, "Mi a roddais iddynt ddeddfau nid oeddynt dda." Ac yr ydys yn dangos fod Moesen, o herwydd caledrwydd calonnau dynion o dan yr hên oruchwyliaeth, yn goddef rhai pethau na fyn yr Iesu mo'u goddef mewn oesoedd diweddarach a mwy diwylliedig. Y pryd hwnnw goddefid i wŷr mawr gadw gordderchadon, ond nid ydys yn goddef hynny mwy. Yr oedd creulondeb yr Israeliaid tu ag at y Canaaneaid, a mân genedloedd eraill, yn beth escusadwy ryw dair mil a hanner o flynyddoedd yn ôl, ond y mae yn beth gwaradwyddus i Durciaid a Saeson ymddwyn yn debyg iddynt yn yr oes hon. Y mae'r safon wedi myned yn uwch o lawer erbyn hyn; ac felly yr ydys yn disgwyl i ni fyw yn well o lawer na goreugwyr Israel. Yr ydys yn dywedyd yn yr epistol at yr Hebreaid ddarfod pregethu'r

efengyl iddynt hwy megis i ninnau. Yr oedd hedyn yr efengyl, yn wir, yn egino ac yn tyfu yn eu crefydd hwy, ond nid oedd e yn dwyn nemmor o ffrwyth, am fod cymmaint o ddreiniach *an*efengylaidd yn ei dagu. Yn awr, nid i hau hadau newyddion y daeth Crist i'r byd, eithr yn hytrach i ddadwreiddio'r drain, er mwyn gwneyd yr hên wenithen yn amlwg, a rhoi iddi felly gyfle i addfedu ac i ffrwytho. Y mae crefydd o ran ei hegwyddor yr un ddoe a heddyw, yma ac accw; am hynny, ni allasai Duw, ddwy fil o flynyddoedd yn ôl, ac ni all e byth, ddadguddio crefydd nad oedd yn bod erióed; ond yr oedd ar ei law buro'r grefydd honno, a rhoi iddi fwy o amlygrwydd; a hyn a wnaeth e trwy ei Fab.

Er fod yr Iddew yn gywir wrth synio mai caru Duw a charu cymmydog yw sylwedd y gyfraith, etto yr oedd ei syniad am Dduw ac am y cymmydog yn anghywir. Iafe, Duw yn derbyn wyneb cenedl—Duw a oedd yn caru yr Iddewon yn fwy na chenedloedd eraill oedd ei Dduw ef; a chymmydog o ran crefydd, os nad o ran gwaed, oedd ei gymmydog ef. Gan mai bychain oedd gwrthrychau ei gariad, yr oedd y cariad ei hun yn ammherffaith. Yn awr, dyrchafodd yr Iesu y ddyledswydd o garu trwy ddyrchafu'r syniad am Dduw ac am ddŷn.

Er fy mod wedi sôn am ddau orchymmyn: etto, un gorchymmyn mawr sydd, mewn gwirionedd, sef y gorchymmyn i garu Duw. O herwydd pa ham yr ydys yn dywedyd, "Hwn yw'r cyntaf a'r gorchymmyn mawr" —*y* mawr, yr unig fawr, ac nid y mwyaf o ddau fawr. Y *mae* ail orchymmyn, ond y cyntaf yw'r gorchymmyn mawr, am fod hwn yn cynnwys yr ail. Y mae'r ail yn *gyffelyb* i'r cyntaf, am mai cariad ar ddŷn sy'n amlygiad o gariad ar Dduw; "canys yr hwn nid yw yn caru ei frawd yr hwn a welodd, pa fodd y gall efe garu Duw yr hwn nis gwelodd?" Y mae pob un a'r sy'n caru Duw

er ei fwyn ei hun, yn caru ei gymmydog hefyd er mwyn Duw. Perthynas dŷn â Duw sydd yn ei wneuthur ef yn greadur teilwng i'w garu. Pa fodd y mae ambell fab da yn gallu caru mab afradlon? Am eu bod ill dau yn feibion i'r un tad, ac felly yn frodyr i'w gilydd. Pa fodd y mae Cristion gwych yn gallu caru Cristion gwael? Am fod y Cristion gwael hwnnw yn fab i Dduw, ac felly yn frawd iddo yntau. Cariad ar Dduw yw gwreiddyn cariad ar ddŷn; a hyn sy'n gwneyd y gorchymmyn i garu Duw yn orchymmyn cyntaf ac yn orchymmyn mawr. Er mai trwy garu dŷn yr ŷm yn dechreu dyscu caru Duw, etto trwy garu Duw yr ŷm yn gorphen dyscu caru dŷn. Cariad ammherffaith a darfodedig yw pob cariad nad oes dim o'r dwyfol ynddo.

Y mae dau beth yn angenrheidiol i wneyd crefydd berffaith, sef cariad ar Dduw a chariad ar ddŷn; neu, mewn geiriau eraill, duwioldeb a daioni. Os bydd dŷn yn caru Duw, yr ydys yn ei gyfrif yn dduwiol; os bydd dŷn yn caru ei gymmydog, yr ydys yn ei gyfrif yn ddaionus—yn ddaionus, meddaf, ac nid yn dda; canys y mae dŷn duwiol yr un ffunud a dŷn daionus yn dda. Yn wir, nid oes neb yn dda, yn ystyr priodol y gair, ond yr hwn sy'n dduwiol ac yn ddaionus.

Atteb y cwestiwn Pa fodd i fod yn dduwiol, sef pa fodd y dylem garu Duw, y mae'r testyn: "Ceri yr Arglwydd dy Dduw â'th holl gàlon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl feddwl." Gwybydder mai'r gydwybod yr ydys yn ei feddwl yn y testyn wrth gàlon, ac mai'r gair enaid sy'n golygu'r peth yr ŷm ni yn ei alw yn gàlon, neu yn eisteddfa'r serchiadau. Felly, wrth ddarllen y testyn, fel hyn y bydd e yn ddealladwy i ni: "Câr yr Arglwydd dy Dduw â'th holl gydwybod, â'th holl gàlon, ac â'th holl feddwl," neu yn rhydd, câr ef yn gydwybodol, yn galonnog ac yn feddylgar; canys oni's ceri ef felly, ni bydd dy gariad yn berffaith.

Gwyddoch, ond odid, fod yn perthyn i ysbryd dŷn dair cynneddf, sef y feddyliol, y foesol a'r serchiadol, ac yr ydys yn gyffredin yn eu galw yn feddwl, cydwybod a chàlon. Mewn rhai dynion, y gynneddf feddyliol sy gryfaf; mewn eraill, y gynneddf foesol sy gryfaf, ac mewn eraill y gynneddf serchiadol sy gryfaf. Y mae yn sicr fod anian dŷn ei hun a hyd yn oed addysc, oedran, rhywogaeth, hinsawdd ac arferion gwlad, yn effeithio rhywfaint ar ei grefydd. Er engraifft, y mae mwy o feddylgarwch ynghrefydd trigolion y Gorllewin nag sydd ynghrefydd trigolion y Dwyrain; mwy o feddylgarwch ynghrefydd y Protestaniaid nag sydd ynghrefydd y Catholigion a'r Mahometiaid, a mwy o serch ynghrefydd y rhain nag sydd ynghrefydd y Protestaniaid. Y mae'r elfen serchiadol yn gryfach ynghrefydd merched nag ynghrefydd meibion, a'r elfen foesol yn gryfach ynghrefydd meibion nag ynghrefydd merched; hynny ydyw, y mae'r merched yn caru Duw yn hytrach â'r gàlon, a'r meibion yn ei garu yn hytrach â'r gydwybod. Y gynneddf serchiadol sy'n ymddadblygu, gyntaf ym mhob dŷn, pa un bynnag ai mab ai merch. Yn ddiweddarach y mae'r gynneddf feddyliol yn ymddadblygu, ac yn ddiweddarach ac yn arafach fyth y mae'r gynneddf foesol yn ymddadblygu. Ond er fod anian dŷn a'i amgylchiadau yn ei gwneyd hi yn haws iddo garu Duw â rhyw un gynneddf, etto fe ddylai garu Duw â phob cynneddf; canys wrth ei garu â'r holl gydwybod, â'r holl gàlon ac â'r holl feddwl, y bydd ei gariad yn gymmesur ac yn gyflawn. Dŷn masw yw'r dŷn y bo'i gariad agos i gyd yn ei gàlon; dŷn oeraidd yw'r dŷn y bo'i gariad agos i gyd yn ei feddwl; a dŷn sarrug yw'r dŷn y bo'i gariad agos i gyd yn ei gydwybod.

Er mai â'r gynneddf serchiadol, sef â'r gàlon, y mae pob dŷn yn caru gyntaf, etto, y mae yn fwy cyfleus i mi sôn am y gynneddf feddyliol ym mlaenaf; am y gyn-

neddf foesol yn nesaf, ac am y gynneddf serchiadol yn olaf.

Ym mlaenaf, gan hynny, "Car yr Arglwydd dy Dduw â'th holl feddwl. Y mae caru Duw â'r meddwl yr un peth a'i garu fel y mae yn ymddangos i'r meddwl, sef fel y mae yn ymddangos yn y gwïrionedd. Yr hyn yw goleuni i'r llygaid, hynny yw gwirionedd i'r meddwl. Wrth garu Duw â'r holl feddwl, yr ydys yn caru gwirionedd, a hynny am ei fod yn werthfawr ynddo'i hun, ac nid am ei fod yn fuddiol i ni. Gellir dywedyd am Dduw yr hyn mae'r Iesu yn ei ddywedyd am dano'i hun, mai efe ydyw'r gwirionedd; ac, am hynny, os nad ŷm yn caru'r gwirionedd, nid ŷm yn caru Duw. Er prinned yw cariad perffaith yn y byd, y mae yn debygol na bu erîoed gymmaint o garu Duw â'r meddwl ag sydd yn y dyddiau hyn; a hynny am na bu erîoed gymmaint o garu gwirionedd. Yn y dyddiau gynt, yr oedd yn ddigon gan y rhan fwyaf garu yr hyn a gyfrifid yn uniongred, sef yr hyn a ddywedai'r eglwys gyffredinol. Yr oedd y Catholigion yn erlid Galileo, a'r Protestaniaid yn erlid Kepler, am draethu gwirioneddau mewn serydd-iaeth yr oeddid yn tybied eu bod yn anghysson a dysceidiaeth y Bibl; ond erbyn hyn, yr ydys yn derbyn gwirionedd hyd yn oed o enau dynion yr ydys yn eu cyfrif yn anffyddwyr—o enau Balaam yn gystal ag o enau Moesen. Yr ydys yn croesawu gwirionedd o ba gyfeiriad bynnag y delo. Yr ydys bellach yn gofyn nid yn unig pa beth a ddywed yr eglwys a pha beth a ddywed y Bibl, ond hefyd beth a ddywed natur, beth a ddywed rheswm, beth a ddywed cydwybod, a pha beth a ddywed greddfau mwyaf sefydlog yr hil ddynol. Anffyddwyr o ryw fath yw y rhai sy'n anghredu'r pethau hyn, fel y rhai sy'n anghredu'r Bibl; canys Duw sy'n llefaru yn y gydwybod fel yn y Bibl; Duw sy'n goleuo trwy reswm fel trwy ddadguddiad. Pa

ddysceidiaeth bynnag a fo yn myned yn erbyn y pethau hyn, nid yw honno o Dduw. Os taera rhywun mai yn ammherffaith y mae Duw yn llefaru yn y greadigaeth ac o fewn dŷn ei hun, gellir atteb mai yn ammherffaith y mae yn llefaru yn y Bibl hefyd; canys y mae yn annichon i'r Hollalluog roddi dadguddiad perffaith trwy gyfrwng iaith ammherffaith; ac ni all y Creawdr anfeidrol ymegluro yn gyfangwbl i greaduriaid meidrol. Gan nad oeth am hynny, y mae yn sicr y bydd y gwirionedd a dynner o lawer ffynnon yn gyflawnach na'r gwirionedd a dynner o un ffynnon. Parchwn y Bibl yn anad un llyfr, ond parchwn hefyd y rheswm a roddwyd ini i ddeall y Bibl, a pharchwn y gydwybod a roddwyd ini i gyd-dystiolaethu â'r gwirionedd tragwyddol y sydd yn y Bibl. Carwn Dduw â'r holl feddwl, trwy garu yr holl wirionedd, y sy'n gorwedd yn y nefoedd uchod ac yn y ddaear isod. Y mae meddwl Duw, fel ei gyfraith, yn dra eang ac wedi ei scrifennu nid yn unig ar ddalennau gwynion y Llyfr hwn, ond hefyd ar len las y ffurfafen, ac ar haenau amryliw y creigiau. Po uchaf a dyfnaf y chwiliom am wirionedd, mwyaf oll o Dduw a ddaw i'r golwg; a pho mwyaf ein Duw, mwyaf oll fydd ein cariad.

Yn nesaf, Câr Dduw â'th holl gydwybod. Y mae caru Duw â'r gydwybod yr un peth a'i garu fel y mae yn ymddangos *i*'r gydwybod, sef fel y mae yn ymddangos mewn cyfiawnder. Wrth garu Duw â'r gydwybod, yr ydys yn caru cyfiawnder; a hynny nid o blegid ei wasanaeth i ni, eithr o blegid ei werth ynddo'i hun. Y mae pawb yn caru cyfiawnder pan y digwyddo iddo fod o'u tu; ond ychydig sy'n ei garu pan y byddo yn eu herbyn, am nad ŷnt yn caru cyfiawnder er ei fwyn ei hun. Y mae llaweroedd yn caru cyfiawnder yma neu accw nad ŷnt ddim yn ei garu ym mhob man. Y mae'r Saeson yn ddigofus iawn wrth y Twrciaid am eu bod yn

camdrin yr Armeniaid, a'r Twrciaid hwythau yn ddigofus wrth y Saeson am eu bod yn camdrin y Matabeliaid, ac Affricaniaid eraill; ond nid oes neb call yn rhoi dim pwys ar eu digofaint; canys er fod y naill genedl yn rhagrithiol iawn yn condemnio anghyfiawnder y llall, nid oes un o'r ddwy genedl yn condemnio ei hanghyfiawnder ei hun. Caru cyfiawnder yn Armenia y mae'r Saeson, a charu cyfiawnder yn Affrica y mae'r Twrciaid. Caru cyfiawnder lleol, neillduol, y mae'r cenedloedd hyn, ac nid caru cyfiawnder cyffredinol; a phan na bo dŷn neu genedl yn caru cyfiawnder cyffredinol, nid yw y rheini yn caru cyfiawnder neillduol chwaith â chariad diragfarn; canys mewn pethau moesol, y cyffredinol yw sylfaen ac ammod y neillduol.

Er cyflymmed y mae'r byd yn myned rhagddo mewn gwybodaeth, rhaid addef fod ei gynnydd mewn cariad ar gyfiawnder yn araf iawn. Y mae'r cyfleusderau i gyfoethogi ac i ddiwyllio'r meddwl yn chwanegu bob blwyddyn, ond y mae yn amheus a oes chwaneg o gyfleusderau i ddiwyllio'r gydwybod y flwyddyn hon nag ydoedd hanner can mlynedd yn ôl; ac od oes, y mae mwy ar gyfartaledd yn eu hesceuluso'r pryd hwn nag oedd y pryd hwnnw. Y mae'n hyscolion Sul, er engraifft, wedi ymddirywio nid yn unig o ran rifedi eu haelodau ond hefyd o ran ansawdd eu haddysc; canys 'erbyn hyn yscolion ydynt i feithrin yn hytrach y meddwl na'r gydwybod—yscolion i ddyscu gwybod ac nid i ddyscu gwneuthur. Yr un ffunud, ychydig o hyfforddi mewn cyfiawnder sydd ar y rhan fwyaf o aelwydydd ein gwlad. Cyfiawnder yw y rhan foesol o grefydd; ac wrth ddiystyru yr elfen foesol hon, yr ydys yn magu cenedlaeth galed nad yw yn ofni Duw nac yn parchu dŷn. Pan elo'n gwlad yn ddigon doeth i roi cymmaint o fri ar rinwedd ag ar wybodaeth, hwyrach y codir ynddi gynnifer o golegau i ddiwyllio'r gydwybod ag

sydd ynddi yn awr o golegau i ddiwyllio'r meddwl. Pan y bydd cyfiawnder fel tonnau'r môr, yn ymchwyddo ac yn ymchwalu, y pryd hwnnw yr â'r ddaear yn debyg i'r nef. Daear newydd a fydd y ddaear y bydd cyfiawnder yn cartrefu ynddi. Carwn Dduw â'n holl gydwybod fel y dyscom garu cyfiawnder.

Yn olaf, "Câr Dduw â'th holl galon." Y mae caru Duw â'r holl gàlon yr un peth a'i garu fel y mae yn ymddangos *i'r* gàlon, sef fel y mae yn ymddangos yn ei gariad. Wrth garu â'r holl gàlon, yr ydys yn caru cariad, a hynny nid o blegid ei hyfrydwch, eithr o blegid ei degwch ynddo'i hun. Nid yw cariad yn ceisio'r eiddo'i hun; yn hyfrydwch rhywun arall y mae efe yn caffael ei hyfrydwch ei hun. Y mae yn natur cariad fyned allan o hono'i hun, ac anghofio'i hun, ac ymaberthu er mwyn eraill; a pho gorau y gwrthrych, gorau oll fydd y cariad. Gan fod dynion yn feidrol, ac nad oes undyn gan hynny oll yn hawddgar, ni ddylai dŷn, ac yn wir ni all dŷn, garu dŷn arall â'i holl gàlon. Gall caru'r meidrol ei ddyscu yn y dechrau i garu'r anfeidrol. Er engraifft, gall caru ei dad y sydd ar y ddaear ei gynnorthwyo yn ei febyd i garu ei Dad y sydd yn y nefoedd. O'r tu arall, ni ellir caru'r meidrol fel y dylid ei garu, heb garu'r anfeidrol; canys caru'r perffaith a ddichon berffeithio 'r cariad ei hun. O blegid hyn, y mae Ioan yn dywedyd dau wirionedd y sy'n ymddangos yn wrthwynebol i'w gilydd. "Yr hwn nid yw yn caru ei frawd yr hwn a welodd, pa fodd y gall efe garu Duw yr hwn ni's gwelodd." "Yn hyn y gwyddom ein bod yn caru plant Duw, pan fyddom yn caru Duw." Hynny ydyw, mewn geiriau eraill: Ni ellwch garu'r Duw anweledig heb garu dŷn gweledig, ac ni ellwch chwaith *iawn* garu dŷn gweledig heb garu'r Duw anweledig; o blegid yr hyn sy'n anweledig mewn dŷn ei hun a ddylid ei garu yn bennaf—nid y llygaid disclair, eithr y dealltwriaeth

y sy'n eu gwneyd yn ddisclair; nid y gwrid y sydd ar y gruddiau, eithr y gwyleidd-dra y sy'n codi'r gwrid; nid y wên y sydd ar y genau, eithr y tiriondeb y sy'n peri'r wên. Caru'r Duw Tragwyddol sy'n ein dyscu i garu *pethau* tragwyddol mewn dŷn. Serch ar y dwyfol sy'n dwyfoli 'n serch ar y dynol.

Câr yr Arglwydd—câr berson, ac nid pethau yn unig; neu yn hytrach, câr y pethau yn y person; canys pwy bynnag sy'n caru'r gwir a'r iawn a'r teg yn eu ffynhonnell, y mae hwnnw yn caru Duw; a phwy bynnag nad yw yn caru'r pethau hyn yn y Bod anfeidrol y maent yn hanfod o hono, nid yw hwnnw yn caru'r pethau eu hunain yn eu helaethrwydd. Yn Nuw yn unig y ceir y tri pheth hyn yn eu cyfander ac yn eu hunoliaeth. Ynddo ef, y mae 'r tri yn un, a'r un yn anfeidrol; am hynny ni all y dŷn i gyd garu, oni bydd yn caru Duw i gyd. Duw yw gwrthrych yr enaid—y gwrthrych y sydd ar unwaith yn wirionedd i'r meddwl, yn gyfiawnder i'r gydwybod, ac yn gariad i'r gàlon.

Câr yr Arglwydd dy Dduw—câr y person y mae ganddo hawl ar dy gariad; câr yr hwn sy'n anad neb yn haeddu ei garu; a hynny nid yn unig o blegid yr hyn ydyw ynddo'i hun, ond hefyd o blegid yr hyn a wnaeth erot ti. Gan fod y Bibl yn llefaru yn ddynol am Dduw, y mae yn iawn i minnau ddywedyd ei fod ef wedi 'n caru ni â'i holl feddwl, â'i holl enaid, ac â'i holl nerth. Pa beth yr oedd e yn ei wneyd pan oedd yn meddwl meddyliau o hedd am danom yn nhragwyddoldeb pell? Caru dŷn â'i holl feddwl. Beth yr oedd yn ei wneyd pan oedd enaid ei Anwylyd yn drist hyd angau? Caru dŷn â'i holl enaid. Beth yr oedd yn ei wneyd pan y daeth allan waed a dwfr o ystlys y gŵr a fu farw ar y groes? Caru dŷn â'i holl gàlon. Beth yr oedd yn ei wneyd pan y cyfododd e 'r Iesu o feirw yn ôl gweithrediad nerth ei gadernid? Caru dŷn â'i holl nerth.

Taflodd Duw ei hunan i gyd oll i'r gwaith o gadw a dyrchafu pechadur. Y mae efe wedi ymlenwi ac wedi ymwisco à chariad; yn gymmaint felly fel yr oedd e yn ymddangos i Ioan yn un clamp anfeidrol o gariad. Y mae'r Duw anfeidrol wedi ymgolli mewn cariad ar ddŷn; ac ni bydd dŷn yn berffaith ddedwydd hyd oni bo yntau wedi ymgolli mewn cariad ar Dduw. Nofio yn gythryblus ar wyneb *tonnau* cariad y mae'r duwiol yn y fuchedd hon, gan ddioddef gwres y dydd ac oerni'r nos, a phob cyfnewid hin; ond yn y fuchedd dragwyddol, fe'i gwelir "yn nofio *mewn* cariad a hedd"—yn y dyfnder tawel lle na bydd haul na gwynt yn taro arno. Y mae Duw yn gallu ymlonyddu yn ei gariad ar ddŷn am fod ei gariad mor ddwfn; a phan elo cariad dŷn yn ddwfn y gall yntau ymlonyddu ynddo. Er fod yn galw'r nef yn orphwysfa ac yn breswylfa lonydd, etto i'r rhai a fydd yn caru y bydd hi yn breswylfa lonydd. Eu cariad ar y brenin a bair i'r preswylwyr garu eu preswylfa. Yr oeddwn i gynt yn nabod merch ieuangc a oedd yn dueddol iawn i achwyn ar yr ardal yr oedd hi yn byw ynddi; ond yn y man cafodd hi anwylyd yno; ac o'r dydd hwnnw allan aeth yr ardal yn Eden; dechreuodd yr adar ganu caniad newydd; chwythodd awel fwynach ar y dail; aeth y glaswellt yn lasach, y rhosyn gwyn yn wynach, a'r rhosyn coch yn gochach, ie, aeth y lloer yn lanach a'r sêr yn siriolach. Gweddnewidiwyd poppeth yn ei golwg hi a oedd yn caru; ond i bawb a'r a oedd heb ddechrau caru, neu wedi darfod caru, yr oedd daear ac wybren yn ymddangos yr un fath ag o'r blaen. Gyfeillion, os mynnwn i'r hên ddaear ymddangos yn ddaear newydd, carwn ei Chreawdr; os mynnwn i'r hên nefoedd gael ei throi yn nefoedd newydd, ymserchwn yn Arglwydd y nefoedd. Ei adnabod ef trwy ei garu *ydyw* y bywyd tragwyddol yn ei fwynhad; a pha faint bynnag o gariad a fo o'n mewn, hynny a fydd o degwch o'n

hamgylch. Pan welo dy lygaid y Brenin yn ei degwch y gwelant hefyd y tir pell yn dir teg. Lle bynnag y cerddo dy Anwylyd, y mae meillion yn tyfu yn olion ei draed. "Ei lwybrau a ddiferant frasder; diferant ar borfeydd yr anialwch; a'r bryniau noethion a ymwregysant â hyfrydwch." Yn ei wyddfod ef fe dry'r pren gwyw yn bren byw, ac afon angau yn afon bywyd. Y mae efe yn gwascar goleuni o'i ddeutu, am ei fod yn oleuni ei hun; yn llusco llawenydd i'w ganlyn, fel y bydd pennadur yn llusco godreon ei fantell. Nef yw pob man y bo efe yn ymddangos ynddo. Gyd âg ef byddai'r ddaear yn nefoedd, ac hebddo ef, byddai'r nefoedd yn uffern. "Pwy sydd gennyf fi yn y nefoedd ond tydi, ac ni ewyllysiais ar y ddaear neb gyd â thydi."

"Iesu ei hunan—Duw ei hunan, yw fy nefoedd,
Dros fy oes ac yn oes oesoedd;
Nef y nefoedd yw ei garu,
Ei fwynhau a'i bur foliannu."

Câr yr Arglwydd dy Dduw, gan hynny, o gariad arnat dy hun, sef er mwyn dy ddedwyddwch dy hun; canys fel y mae'r gyfraith a'r proffwydi, a'r efengyl hefyd, yn sefyll ar y gorchymmyn i garu, felly y mae dy ddedwyddwch dithau yn sefyll ar garu o honot yr Arglwydd â'th holl feddwl, â'th holl gydwybod, ac â'th holl gàlon.

Ond pa fodd medd rhywun y gallaf *ddechrau* caru mewn ufudd-dod i orchymmyn? Pa les yw dywedyd wrthyf y dylwn fod yn gynnes, a minnau yn oer? Os ŵyt yn oer, pa ham yr ŵyt yn stelcian yn dy benty didân a diffenestr dy hun? Tyred allan i'r ehangder, a saf o dan lygad mawr y dydd, yr hwn wrth edrych o entrych awyr ar drigolion daear, sy'n eu goleuo ac yn eu gwresogi ar yr un pryd. Y mae Duw yn edrych arnat ti; edrych dithau arno ef; a phan ymgyfarfo'ch golygon, ennynnir yn dy fynwes fflam o gariad na ddiffoddir moni byth.

## IX.

## DUW YN COSPI DYN WRTH EI GADW.

"*Canys o herwydd yn noethineb Duw, nad adnabu'r byd trwy ddoethineb mo Dduw, fe welodd Duw yn dda trwy ffolineb pregethu gadw y rhai sy'n credu.*"—1 COR. i. 21.

Y MAE'r adnod hon mor gynnwysfawr ac mor gywrain, fel y mae yn hawdd i ddŷn edrych arni lawer gwaith heb weled nemmor ynddi. Tu ag at ei deall yn weddol, mae yn angenrheidiol ini wybod fod tri o'r ymadroddion y sydd yn y rhan olaf o honi yn gyferbyniol â'r tri ymadrodd y sydd yn y rhan flaenaf; canys y mae'r ymadrodd "trwy ffolineb pregethu" yn cyfatteb i'r ymadrodd "yn noethineb Duw"; yr ymadrodd "y rhai sy'n credu" yn cyfatteb i'r ymadrodd "trwy ddoethineb"; a'r gair "cadw" yn cyfatteb i'r gair "adnabod." Dealler nad yr un peth yw meddwl "doethineb" yn y ddau le y mae'r gair yn digwydd ynddo. Doethineb Duw yw un ddoethineb, a doethineb y byd yw'r ddoethineb arall. "*Yn* noethineb Duw" yw'r cylch y mae doethineb Duw yn ymddangos ynddo, sef natur; "trwy ddoethineb" yw trwy ddealltwriaeth dŷn ei hun, neu trwy weithrediad ei reswm. Felly, yr amgeneiriad yma a ddengys orau pa fodd yr ŵyf yn deall y testyn: Gan na fynnodd y byd paganaidd trwy ei ddoethineb ei hun ddim adnabod Duw yn yr amlygiadau o'i ddoethineb ef, fe welodd Duw yn dda gadw y rhai sy'n credu; a hynny trwy ffolineb pregethu. Yn ôl yr esponiad hwn, y mae cadwedigaeth y byd trwy ffolineb pregethu yn gospedigaeth arno am esgeuluso adnabod Duw yn y dadguddiad o ddoethineb Duw mewn natur. Pa beth oedd pechod

y byd paganaidd? Peidio âg adnabod Duw yn ei ddoethineb. Pa beth yw cospedigaeth Duw am hynny? Cadw trwy ffolineb pregethu. Dyma'r unig adnod, hyd y gwn i, sy'n mynegi'r gwirionedd fod cadw pechadur yn gosp arno. Am fod y gwirionedd rhyfedd hwn wedi fy nharaw y meddyliais am wneyd yr adnod hon yn destyn ychydig o sylwadau.

Y mae yn iawn imi ddywedyd fod rhai esponwyr yn cyplu'r ymadroddion yn wahanol i'r modd y gwneuthum i, gan ddilyn yr esponwyr diweddaraf. Y maent, er engraifft, yn dywedyd mai i'r ymadrodd "trwy ddoethineb" ac nid i'r ymadrodd "yn noethineb Duw" y mae'r ymadrodd "trwy ffolineb pregethu" yn cyfatteb; am fod y ddau ymadrodd hyn yn dechrau hefo'r gair "trwy." Ond os nad yw'r ymadrodd "trwy ffolineb pregethu" yn cyfatteb i'r ymadrodd "yn noethineb Duw," nid oes un ymadrodd arall yn cyfatteb iddo cystal. Heb law hynny, yr oedd gan yr apostol amcan wrth newid yr arddodiad; canys wrth ddywedyd nad adnabu'r byd mo Dduw yn noethineb Duw, yr oedd efe yn rhoi ar ddeall fod Duw yn ei ddadguddiad cyntaf a chyffredinol, megis yn aros yn llonydd ynghanol natur, ac yn disgwyl dynion, fel y ceisient yr Arglwydd, os gallent, trwy iawn arfer eu dealltwriaeth, ymbalfalu am dano a'i gael; ond wrth arfer y gair "trwy" yn yr ymadrodd "trwy ffolineb pregethu," y mae'r apostol yn rhoi ar ddeall fod Duw, ar ôl disgwyl yn ofer, megis wedi codi o'i le, a myned allan i chwilio am ddŷn *trwy* gyhoeddi iachawdwriaeth, ac felly ei gadw trwy ffolineb pregethu. Pan fo'r apostol yn edrych ar y byd oddi ar safle'r Iddew, y mae yn dosparthu hanes y byd yn ddau gyfnod, sef cyfnod y gyfraith a chyfnod gras; a phan fo yn edrych ar y byd oddi ar safle'r cenedl-ddŷn, y mae yn dosparthu hanes y byd fel hyn: cyfnod dadguddiad Duw mewn doethineb, a chyfnod dadguddiad Duw yn null ffolineb. Yn y cyf-

nod blaenaf, gweled yr ydys ddŷn yn ceisio Duw; ac yn yr ail, gweled yr ydys Dduw yn ceisio dŷn.

Dŷn yn ceisio Duw; Duw yn ceisio dŷn—dyna ddau ben y bregeth.

I. *Dyn yn ceisio Duw.* Nid oedd raid i ddŷn yn ei ddiniweidrwydd ddim chwilio am Dduw; o blegid yr oedd Duw yn oleuni o'i fewn ac o'i amgylch; ac yntau yn gweled pob peth yn y goleuni hwnnw; ond pan gwympodd, ciliodd Duw o hono ac oddi wrtho. O hynny allan, yr oedd yn rhaid i ddŷn chwilio am Dduw, os mynnai efe ei gael. Ym mha le y gellid ei gael wedi iddo adael dŷn? Yn ei ddoethineb, medd y testyn, ac y mae argraff ei ddoethineb ar ei holl weithredoedd.

Gellir gweled llawer iawn o Dduw yn ei ddoethineb—mwy o hono nag ym mhob priodoledd arall, oddi gerth un. Pa le bynnag y gweler arwyddion o ddoethineb Duw, fe welir yno arwyddion o'i dragwyddol allu a'i ddaioni ef; canys ni all Duw fod yn ddoeth heb fod yn alluog ac yn dda. Er mor ddieithr oedd Duw i'r paganiaid, "ni adawodd efe mono'i hun yn ddidyst, gan wneuthur daioni, a rhoddi glaw o'r nefoedd ini, a thymhorau ffrwythlawn, a llenwi'n calonnau ni a lluniaeth ac â llawenydd." Yr oedd efe mor ddaionus tu ag attynt fel yr oedd yn eu sirioli â'i ddaioni. Ni fuasai yn anawdd iddynt ddyfalu fod y Duw a allai wastraffu ei ddaioni ar bechaduriaid, yn drugarog hefyd. Hyd yn oed pe na buasai daioni yn elfen amlwg yn ei ddoethineb, gallasent ddyfalu fod trugaredd yn llechu o'r tu ôl iddi. Trugaredd a gynhyrfodd Dduw i ddangos cymmaint o ddoethineb yngwaith ei ddwylaw; ac am hynny y canodd Dafydd, "Yr hwn a wnaeth y nefoedd mewn doethineb, o herwydd ei drugaredd sy'n dragywydd; yr hwn a estynnodd y ddaear oddi ar y dyfroedd, o blegid ei drugaredd sy'n dragywydd; yr hwn a wnaeth oleu-

adau mawrion, canys ei drugaredd sy'n dragywydd." Ni fuasai yn wiw gan y Creawdr ddangos ei ddoethineb yn y bydoedd uwch ben, oni buasai ei fod yn meddwl gwneuthur trugaredd ar y ddaear. Tra byddo pryd hau a phryd medi, haf a gaeaf, nos a dydd; tra rhedo'r afonydd i'r môr; tra cadwo'r mellt eu ffordd; tra bo llygaid y dydd yn edrych i fyny, a llygaid y nos yn edrych i lawr; tra bo effeithiau amlwg i achosion cuddiedig; tra parhao deddfau natur i weithio yn ôl eu cyssondeb arferol, hyd hynny y pery trugaredd Duw i weithredu tuag at ddŷn. Un o anweledig bethau Duw yw trugaredd, fel y mae hi yn briodoledd; ond y mae ei hôl yn amlwg ar natur ei hun. "Daionus yw'r Arglwydd i bawb, a'i drugaredd sydd ar ei holl weithredoedd." Y mae gwyddoniaid yn gallu barnu wrth ddarn o ascwrn pa beth oedd maint a llun y scerbwd yr oedd yr ascwrn hwnnw yn rhan o hono. Pe bâi dynion yn astudio, ïe, yn llyfr natur, gymmaint ar ddiwinyddiaeth ag ar wyddoniaeth, gallent ddyfalu pa beth yw cymmeriad Duw oddi wrth *rannau* ei ffyrdd.

Ond ni raid i ddŷn ddyfalu llawer tu ag at adnabod Duw yn yr amlygiadau o'i ddoethineb. Y mae yn ddigon iddo ymwrandaw â llais Duw ynddo'i hun, ac ystyried y pethau a welir o'r tu allan iddo'i hun; "o herwydd yr hyn a ellir ei wybod am Dduw sydd eglur yn y paganiaid; canys Duw a'i heglurodd iddynt. A'i anweledig bethau ef, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, a welir yn amlwg, hyd onid ydynt yn ddiescus." Yr oedd Duw wrth arddangos ei ddoethineb yn dadguddio'i hun iddynt; a chan mai'r Ail Berson yw cyfrwng pob dadguddiad, gellir dywedyd fod Duw wedi ymddangos i ddynion yn ei Fab, cyn llefaru wrthynt yn ei Fab. Yr oedd y Mab hwn wedi ymddaearoli cyn ymgnawdoli. Yn y byd yr oedd efe, medd Ioan, er pan wnaethpwyd y byd trwyddo. Ynddo ef yr oedd bywyd

y pryd hwnnw, a'r bywyd oedd oleuni dynion; ac yr oedd y goleuni hwn yn llewyrchu yn y tywyllwch yr oedd y paganiaid ynddo. Bywyd oedd yn goleuo, ac nid yn gwresogi; bywyd oedd yn wirionedd, ac nid yn ras, ydoedd efe y pryd hwnnw; ond yr ydoedd yn fywyd serch hynny. Wrth ddiolch am yr hyn a wnaeth Mab Duw fel Crist gyd â ni, nac esceuluswn ddiolch am yr hyn a wnaeth efe yn y byd fel Gair a oedd gyd â Duw. Wrth gwyno fod y byd paganaidd etto yn fwy na'r byd Cristionogol, cofiwn fod gan yr Iesu ddefaid eraill yn y byd hwnnw; fod gan Dduw blant ar wascar o'r tu allan i'n meusydd cennadol ni. Os na chawsant gyfleustra i gredu yn y Mab fel Emmanwel, achubasant y cyfle i gredu ynddo fel Gair; ac am hynny yr ydys yn dywedyd yn y Bibl fod y cyfryw rai o Dduw ac o'r gwirionedd. Ni buasai'r paganiaid, mwy na ninnau, yn ddiescus, oni buasai gael o honynt ddadguddiad; ac y mae'r dadguddiad hwnnw yn gynnwysedig yn ymddangosiad doethineb Duw yn natur, trwy y Gair tragwyddol.

Os *yn* noethineb Duw yr oedd y byd yn ceisio Duw, *trwy* ba beth yr oedd e yn ei geisio? Trwy ei ddoethineb naturiol ei hun, sef trwy ei reswm, neu trwy yr ymarfer â'i ddealltwriaeth. Y mae'r Gwir Oleuni yn goleuo pob dŷn a'r sy'n dyfod i'r byd, trwy roddi iddo gynneddfau y sy'n ei alluogi i adnabod Duw. Yngoleuni ei reswm ei hun y mae dŷn yn gweled Duw yn ei ddoethineb. Y mae y rheswm hwn iddo ef yn fath o ffydd; canys y mae trwyddo yn gweled yr anweledig—yn gweled pethau anweledig Duw yn y pethau a wnaed ac a welir. Ni byddai apostol y Cenedloedd byth yn dibrisio dadguddiad cyffredinol Duw, er mwyn dyrchafu ei ddadguddiad neillduol; ac am hynny ni phetrusodd ddywedyd yn eglur yn ei bregethau yn Lystra ac yn Athen, ac yn ei epistol at y Rhufeiniaid, y dichon i ddynion gyrraedd adnabyddiaeth (ddeallol) o Dduw

trwy sylwi ar ei weithredoedd; ond er fod hyn yn beth dichonadwy, methu âg adnabod Duw a wnaeth y rhan fwyaf, a hynny o achos iddynt gamarfer eu rheswm. Er ei adnabod mewn rhan, pallasant *ddilyn* adnabod yr Arglwydd.—"A hwy yn adnabod Duw (yn ammherffaith fel hyn) ni's gogoneddasant ef megis Duw." Trwy ymfoddloni ar hanner adnabod Duw, aethant i ymfoddloni ar hanner Duw; a phan beidio Duw â bod yn fawr—yn anfeidrol fawr, y mae lle i liaws o dduwiau eraill sefyll ger ei fron ef. Yn y modd yma, aeth dynion yn baganiaid, gan gefnu ar yr unig ddoeth Dduw, a myned ar ôl duwiau nad oeddynt ddim doethach na'u haddolwyr. Heb law hyn, yr oedd eu drygioni yn tywyllu eu deall: yr oedd eu gwaith yn camarfer hynny o wybodaeth a oedd ganddynt yn eu rhwystro rhag cynnyddu mewn gwybodaeth am Dduw; canys yr oeddynt yn attal y gwirionedd trwy anghyfiawnder. Pan ddechreuo dynion fyned ar ŵyr, ni all na ruthrant yn y man dros y dibyn. Er fod y byd, rhwng yr amser y ceuodd Duw yr Hên Destament a'r amser yr agorodd efe'r Newydd, wedi cyrraedd ei fan uchaf mewn doethineb, etto, yr oedd ar yr un pryd wedi syrthio i'w fan isaf mewn annuwioldeb. Yr oedd drygioni wedi myned yn beth mor gyffredinol erbyn dyddiau'r apostol fel nad oedd yn ormod ganddo fenthycio geiriau'r Salmydd i ddarlunio cyflwr y byd: "Nid oes neb cyfiawn, nac oes un; nid oes neb yn deall, nid oes neb yn ceisio Duw." Ond fe fu ym mhob cenedl *rai* yn ceisio Duw, trwy ymbalfalu am dano; ac i'r rheini yr oedd cael Duw yr un peth a'i adnabod. Gan mai trwy arfer eu rheswm yr oeddynt yn ceisio Duw, trwy ei adnabod yn unig y gallasent ei gael. Yr oeddynt yn cael llawer o Dduw felly, ond nid oeddynt yn ei gael i gyd. Adnabyddiaeth ddeallol yw'r un a gyrhaedder trwy ymdrechiadau'r deall; ac nid honno yw'r adnabyddiaeth uchaf. Adnabod trwy garu

y mae'r hwn sy'n adnabod yn llawn; gweled â'i gàlon y mae'r hwn sy'n gweled yn iawn. Er hynny, y mae yn ddiammau ddarfod i lawer pagan defosiynol, ar ôl adnabod Duw a'i ddeall, ei garu, ac wrth garu ymddiried ynddo; canys y mae Duw yn gwobrwyo'r dŷn a ennillodd yr adnabyddiaeth a oedd yn ei gyrraedd âg adnabyddiaeth sydd y tu hwnt i'w gyrraedd.

Y mae'r apostol yn y testyn nid yn unig yn dywedyd y gallasai ac y dylasai'r byd adnabod Duw, eithr hefyd yn rhoi ar ddeall na buasai raid i Dduw gadw dŷn, pe buasai dŷn wedi llwyddo i'w adnabod ef trwy ei reswm —na buasai raid iddo, o leiaf, mo'i gadw trwy ffolineb pregethu; canys y mae pregethu'r groes wedi ei fwriadu i sarhau rheswm dŷn; a hynny o achos na ddarfu iddo, trwy reswm, ddim adnabod Duw. Pe buasai yn angenrheidiol ei achub, ar ôl iddo adnabod Duw yn y ffordd hon, ei achub y buasid trwy amlygiad helaethach o ddoethineb Duw, sef trwy ryw drefn a fuasai yn fwy wrth fodd ei reswm. Buasai Duw yn symmud o gylch un ddoethineb i gylch doethineb arall, a dŷn mewn canlyniad yn myned rhagddo o un adnabyddiaeth i adnabyddiaeth arall, nes cyrraedd o'r diwedd yr adnabyddiaeth sy'n fywyd tragwyddol. Yn ôl y drefn hon, ei wobrwyo y buasai Duw am lwyddo i'w adnabod yn ei ddoethineb, ac nid ei gospi am beidio â'i adnabod.

II. *Duw yn ceisio dyn.*—"Fe welodd Duw yn dda trwy ffolineb pregethu gadw y rhai sy'n credu." Gan nad adnabu dŷn mo Dduw, y mae Duw bellach yn penderfynnu ei gadw. Gan nad adnabu mo Dduw trwy ddoethineb, sef trwy iawn arfer ei reswm, rhaid iddo bellach, er mwyn cael Duw, ymostwng i gymmeryd ei gadw trwy gredu. Gan nad adnabu Dduw yn y dadguddiad o ddoethineb Duw, rhaid iddo bellach adael i Dduw gael hyd iddo trwy ffolineb pregethu. Yn fyr,

dyma'r pethau yr ydys yn eu cyferbynnu â'u gilydd yn y testyn: doethineb a ffolineb, rheswm a ffydd, adnabod a chadw.

Fe roddwyd i'r byd ddigon o amser i ddangos ei allu ei hun, ac i ymdeimlo â'i anallu, yn ei ymchwil am Dduw; a phan y profwyd yn amlwg mai chwilio yn ofer yr ydoedd, fe welodd Duw yn dda gymmeryd y gwaith o adferu pechadur i'w law ei hun. Yn lle bod dŷn yn *ceisio* Duw yn y greadigaeth ac mewn rhagluniaeth, Duw sy'n ceisio dŷn yn nhrefn yr iachawdwriaeth. Yn lle bod dŷn yn *cael* Duw trwy ei adnabod, Duw bellach sy'n cael dŷn trwy ei gadw. Y mae Duw trwy ffolineb pregethu, yn myned ar ei ôl i gynnyg Ceidwad iddo. Y mae hefyd yn anfon rhai eraill ar ei ôl; ac y mae efe gyd â'r rhai y mae yn eu hanfon; ac am fod Crist a'r deuddeg discybl wedi eu hanfon gan Dduw yr ydys yn eu galw yn apostolion neu yn gennadon.

Ni fwriadwyd i'r grefydd Iddewig fod yn ddim amgen nag yscol ddarpar, am nad oedd iddi gennadon. Nid ydys yn y testyn ddim yn cyfeirio at y dadguddiad neillduol a roes Duw i genedl Israel; er hynny, ni byddaf yn gwyro oddi wrth fy mhwngc, wrth ddangos ar fyr eiriau ym mha beth yr oedd hwnnw yn wahanol i'r ddau ddadguddiad arall yr ŵyf yn ymdrin â hwynt. Yn ôl y cyfammod a wnaeth Duw â phobl Israel, ni adawodd efe monynt i ymbalfalu am dano, fel y paganiaid; ac etto, ni eilir dywedyd chwaith ei fod yntau yn dyfal chwilio am danynt hwy. Eu gosod ar dir mwy manteisiol i gael hyd iddo a wnaeth efe. Yr ŵyf yn credu fod sylwedd yr efengyl a bregethwyd i bobl Israel, oll yn gynnwysedig yn y geiriau hyn: "Ceisiwch fi, a chwi a'm cewch, pan y'm ceisioch â'ch holl gàlon; a mi a adawaf i chwi fy nghael." Dan y gyfraith nid ydoedd Duw yn ceisio'i bobl—gadael iddynt ei gael yr oedd. Ni wn i a oedd yn rhydd iddo y pryd hwnnw geisio neb; ond yr

oedd, ar bwys "yr iawn a rôi yr Iesu," yn gadael i bob un a oedd yn ei geisio ef, ei gael. Nid oedd, fel tad y mab afradlon, yn rhedeg i gyfarfod neb; yn hytrach, cerdded oddi wrth ddŷn y byddai efe; er hynny, byddai yn cerdded mor araf, fel yr oedd yn hawdd i bawb ei oddiweddyd. Fel yr Iesu ar ôl ei adgyfodiad, yr oedd yn cymmeryd arno fyned ym mhellach; ond pan gymhellai rhywrai arno, gan ddywedyd, "Aros gyd â ni," aros a wnâi. Yr oedd yr eglwys Iddewig yn gwybod fod ei hanwylyd yn byw yn ei ddinas ei hun, ond ni wyddai ym mha dŷ nac ym mha heol y gellid cael hyd iddo; am hynny, myned a wnâi hi trwy heolydd y ddinas a gofyn i'r gwylwyr, gan ddywedyd, "A welsoch chwi yr hwn sydd hoff gan fy enaid?" ond tra byddai hi yn holi, byddai Duw yn ymddangos megis ar ddamwain, a hithau yn gallu tystiolaethu, "Nid euthum neppell oddi wrth y gwylwyr hyd oni chefais yr hwn sydd hoff gan fy enaid; deliais ef, ac ni's gollyngais hyd oni ddygais ef i dŷ fy mam." Rhyw fig-ymguddio fel hyn y byddai Duw yn nhir Israel, ac yna yn ymddangos, gan adael i ddynion ei gael.

Ond y mae Duw wedi ymhyfhau a newid ei ffordd er ys talm bellach. Wrth weled cyn lleied yn ei geisio ef dan gyfraith natur a chyfraith Moesen, fe welodd yn dda ddyfod allan ei hunan, yn amlwg ac o ddifrif, i adferu'r byd. Danfonodd efe ei briod Fab i geisio ac i gadw'r hyn a gollesid, ac fe ddarfu iddo yntau orchymmyn i'w apostolion, ac eraill ar eu hôl, fyned i'r holl fyd i bregethu'r efengyl i bob creadur. Trwy ffolineb y pregethu hwn y mae Duw yn meddwl cadw'r byd. Ar ryw olwg, y mae'r *gwaith* o bregethu yn beth ffôl; ac os nad yw yn ymddangos i ni yn beth ffôl; y mae hynny o herwydd fod Duw er ys talm bellach wedi ei wneyd yn beth ffasiynol. Nid oedd *pregethu* athroniaeth na gwleidyddiaeth na dim arall ddim ar arfer cyn yr amser y

dechreuwyd pregethu'r efengyl. Trwy yscolheigion, ac nid trwy gennadon; trwy lyfrau, ac nid trwy bregethu, y byddid yn ceisio dylanwadu ar y byd. Yn wir, ffolineb etto, yngolwg llawer o Brotestaniaid, yw'r syniad fod anfon cennadon i bregethu i'r paganiaid yn fuddiolach na danfon Biblau iddynt i'w darllen; ac am eu bod yn mynnu gweithredu yn ôl eu doethineb eu hunain, sef yn ôl hên arfer y byd, y mae Protestaniaeth er ys talm wedi sefyll yn ei hunfan; ac am yr un rheswm y mae cennadaethau'r Protestaniaid wedi bod mor aflwyddiannus. Yr ydys yn danfon allan filoedd o Fiblau bob blwyddyn, ond y mae yn hyspys nad ŷnt hwy yn gwneyd nemmor o broselytiaid. Nid llawer o baganiaid sy'n *medru* darllen y Bibl yn eu hiaith eu hunain; llai fyth sy'n *mynnu* darllen y cyfieithiadau carbwl a wnaed o hono; ac ychydig iawn sy'n teimlo ac yn credu wrth ddarllen. Trwy ddarllen, yn wir, y gellir gwybod mwyaf, ond trwy wrandaw y teimlir fwyaf; a chan mai â'r gàlon ac nid â'r pen y credir i gyfiawnder, yna ffydd sy trwy glywed ac nid trwy ddarllen. Nid yw'r bobl ddoeth sy'n ceisio gwellàu ar gynllun Duw ddim yn ystyried na fwriadwyd mo'r Scrythyrau i droi dynion, eithr yn unig i addyscu rhai wedi eu troi. Ym mhen cannoedd o flynyddoedd ar ôl marw'r apostolion, y gorphennodd yr Eglwys Gatholig gasclu ynghyd a dethol y scrifeniadau y sydd yn y Testament Newydd; a hyd yn oed ar ôl hynny, llyfr anghyrraeddadwy i'r cyffredin ydoedd efe. Er hynny, pan oedd y Scrythyrau brinnaf y llwyddodd yr efengyl fwyaf. Ac megis ag yr oedd hi gynt y mae hi etto; canys gŵyr pawb mai Eglwys Rhufain a Byddin Iachawdwriaeth yw'r unig gyfundebau Cristionogol sy'n llwyddo yn gyflym yn y dyddiau hyn. A pha ham y maent yn llwyddo, a hwythau mewn rhai pethau mor ddiffygiol, yn ôl ein barn ni? Am eu bod yn ddigon "ffôl" i gredu y gellir cyrhaeddyd y

lliaws yn well trwy ddynion na thrwy lyfrau; ac mai trwy ffolineb pregethu yr ordeiniodd Duw gadw y rhai sy'n credu. Os yw'r dull yn ffôl, y mae yn fwy llwyddiannus o lawer na dull y doethion; yr hyn sy'n profi fod ffolineb Duw (yn hyn o beth, fel mewn pethau pwysiccach) yn ddoethach na dynion.

Ond nid yn gymmaint yn y *modd* yr ydys yn cyhoeddi'r efengyl y mae'r ffolineb yn ymddangos, eithr yn hytrach yn yr efengyl ei hun. Pwy ydyw ei thestyn, a pha beth yw ei sylwedd? Iesu Grist, a hwnnw wedi ei groeshoelio. Yngolwg yr Iddewon, gŵr cythreulig oedd yr Iesu, ac yngolwg y Groegiaid, gŵr lloerig oedd. Lle nad oedd yn wrthrych cas, yr oedd yn wrthrych dirmyg. Ie, yngolwg llawer o'i edmygwyr, nid yw efe etto ddim amgen na merthyr—merthyr yn marw yn siommedig ac yn erbyn ei ewyllys, o achos iddo fethu yn ei amcanion. Os yn ei farwolaeth yr anfarwolodd efe'i hun, o wir ddamwain y bu hynny, meddant hwy. Os llwyddodd fwy yn ei gwymp nag a wnaethai yn ei gyfodiad, megis ar antur y gwnaeth hynny. Fel y gorfu iddo, ac nid fel y rhyngodd bodd iddo, y bu fyw ac y bu farw. Y mae y rhain yn cydnabod fod yr Iesu yn ddŷn da, a galluog hefyd; ond y maent yn barnu nad oedd e ddim yn ddoeth iawn, yn ei eiriau na'i weithredoedd, pe amgen, y buasai farw ar wely brenhinol ac nid ar groesbren. Syniad y rhain, yn Undodiaid, yn Iddewon, ac yn Roegiaid, a fuasai syniad llawer o Gristionogion Cymru am yr Iesu, pe buasent yn byw yn yr un oes ac yn yr un wlad âg ef.

Er hyn oll, hwn yma yw'r Crist a bregethwyd i'r Cenedlodd, ac a gredwyd iddo yn y byd. Gwaradwyddiadau hwn a'i gwnaeth yn ogoneddus yngolwg llawer. Ynghroes hwn yr oedd rhyw rai yn ymffrostio. Yn yr olwg ar hwn, yr oedd y dysccedicaf o'r apostolion yn anghofio'i wybodaeth gyffredinol ac yn dibrisio doeth-

ineb y doethion, gan ddywedyd wrthynt, "Ni fernais i mi wybod dim yn eich plith ond Iesu Grist, a hwnnw wedi ei groeshoelio." Yr oedd efe a'r apostolion eraill yn ymgyndynnu i hoelio'u baner wrth y groes.—"Nyni, meddant, ydym yn pregethu Crist wedi ei groeshoelio, er gwybod fod hynny i'r Iddewon yn dramgwydd, ac i'r Groegwyr yn ffolineb." A ydyw'r Iddewon yn gofyn arwydd? Arwydd ni roddir iddynt, eithr parhau a wnawn ni i sôn wrthynt am berson yr edliwiwyd iddo na allai efe wneuthur gwyrth i'w waredu ei hun. A ydyw'r Groegiaid yn gofyn doethineb? Ni chânt mo'r hyn y maent yn ei ofyn, eithr tystiolaethu a wnawn ni o hyd am un a fu megis melldigedig ynghrog ar bren. Er ei fwyn ef fe wnawn ein hunain yn ffolion, gan gredu mai ffolion yr amser y sydd a fydd ddoethion yr amser a ddaw.

Ond hyd yn oed pe gellid tynnu ymaith dramgwydd y groes, byddai tramgwydd dysceidiaeth yr Iesu yn aros wedyn. Y mae pregethu'r Iesu yn ei athrawiaeth yn dramgwydd i'r byd; canys pa fydolddyn, ïe, pa sawl Cristion, sy'n credu ac yn gwneuthur y pethau a lefarodd efe ar y mynydd ac wrth y môr? Yr ydoedd efe yn bregethwr mawr yn ddiau; ac yn bregethwr cymmeradwy hefyd, cyn belled ag yr oedd ei ddawn yn ei wneyd yn gymmeradwy; ond ym marn y byd nid oedd yn bregethwr call. Yr oedd ei syniadau yn wylltion, ei fynegiadau yn angredadwy, ei orchmynion yn afresymmol, a'i rybuddion yn anghymmedrol. Pa un o'r doethion a fuasai yn ymollwng i draethu pethau ffôl o'r fath yma: "Y mae yn rhaid eich geni chwi drachefn." "Oddi eithr eich troi chwi, a'ch gwneuthur fel plant bychain, nid ewch i mewn i deyrnas nefoedd." "Pwy bynnag a fynno fod yn fawr yn eich plith chwi, bydded yn weinidog i bawb." "Na ofelwch am eich bywyd, pa beth a fwyttaoch, nac am eich corff pa beth a wiscoch; eithr, yn gyntaf, ceisiwch deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder

ef, a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg." "Y neb a gollo'i einioes o'm plegid i a'i caiff hi." "Yr hwn sy'n dyfod attaf fi ni newyna, a'r hwn sy'n credu ynof fi ni sycheda un amser." "Oni fwyttewch gnawd Mab y dŷn, ac oni yfwch ei waed ef, nid oes gennych fywyd ynoch." "Myfi yw'r adgyfodiad a'r bywyd." Na wrthwynebwch ddrwg." "Bendithiwch y rhai a'ch melldithiant."

Yr ydym ni o'n mebyd wedi ymgynnefino â chlywed y pethau hyn, ac am hynny nid ŷm yn tramgwyddo wrthynt; ond ychydig o honom sy'n eu credu yn ymarferol; ac nid llawer o honom sy'n eu credu yn athrawiaethol chwaith; onid e, ni byddai cynnifer o esponwyr mor chwannog i wyrdroi eu hystyr, er mwyn eu cyfaddasu i syniadau'r lliaws. Clywais i aml aelod crefyddol yn dywedyd yn synnedig, "Y mae hwn a hwn yn anffyddiwr," pryd y dylasai ddywedyd, "Y mae arnaf ofn fod hwn a hwn yn *fwy* o anffyddiwr nag ŵyf finnau." Nid dosparth neillduedig a phell oddi wrthym ydyw anffyddwyr eithr dosparth sy'n cynnwys pawb nad ŷnt wedi ymlenwi â meddwl Crist, ac wedi ymwerthu i'w wasanaeth. I bob dŷn anianol, hynny ydyw, i bob dŷn y mae yspryd y byd ynddo, ffolineb yw geiriau Crist; am hynny ni fyn efe mo'u derbyn, ac ni all mo'u deall.

Pa beth ydyw ffolineb pregethu? Yn fyr, pregethu ffolineb ydyw—nid pob ffolineb chwaith, eithr ffolineb Duw; ac y mae hwnnw yn ddoethach na dynion. Gwyddoch fod rhyw fath o bregethwyr yr ydys yn eu galw yn bregethwyr call, sef pregethwyr di-ddrwg-didda, diawen, tebyg i bawb, y rhai sy naill ai o ddiffyg gallu neu ynte o ddiffyg gwroldeb, yn dywedyd mewn modd *goddefadwy* y pethau a gredir yn ddiammau yn ein plith. Y mae *dyn* call yn greadur digon parchus, y tu allan i'r pulpud, am ei fod hob amser yn sefyll yn y canol rhwng

yr awenydd a'r penbwl. Nid yw efe ar ôl ei oes, nac o'i blaen chwaith. Dŷn i'w oes ac i'w gylch ei hun ydyw; ac am hynny, y mae yn gymmeradwy gan y cyffredin—hyd drannoeth ar ôl ei gladdu. Y mae'r cyffredin yn caru dŷn a fo yn escyn neu yn discyn i'r un gwastad a hwynt-hwy eu hunain; canys pa beth a all fod yn hyfryttach i'w teimlad na chlywed eu syniadau, eu rhagfarnau a'u dymuniadau nwy eu hunain yn adseinio ar dafod rhywun arall. Os na bydd dŷn yn ddigon mawr i fod yn ddoeth, y mae yn dda ei weled yn gall. Ond hyn yr ŵyf yn ei ddywedyd; nid oes gan undyn hawl i bregethu yn gall. Nid yw enaid Duw yn ymfoddloni mewn pregethwr call; y maent hwy yn rhy fach, yn rhy gyffredin, i wneyd dim gwrhydri, heb law ennill eu bywiolaeth. Dynion a feiddiodd sarhau y byd, trwy bregethu ffolineb iddo, yw'r dynion a gododd Duw yn bregethwyr. Y mae nerth yr efengyl yn ei ffolineb; y mae ei holl neillduolion hi yn y pethau y mae'r byd yn eu cyfrif yn ynfyd. Pa ham y mae'r efengyl wedi colli ei dylanwad yn Lloegr, ac *yn* colli ei dylanwad yNghymru. Am hyn, yn un peth, sef fod pregethu ffolineb yn darfod, a phregethu callineb yn ymgodi yn ei le. Gallu ydyw'r efengyl ac nid doethineb; iachawdwriaeth ac nid gwyddoniaeth, tystiolaeth ac nid traethawd, ffaith ac nid cyfundraeth.

Ond, os nad doethineb ydyw'r efengyl, y mae hi yn cynnwys doethineb; ïe, y fath ddoethineb fel na allasai'r dŷn mwyaf deallus mo'i chaffael; canys y mae Duw, pan fo ar ei ffolaf, yn ddoethach na dŷn, pan fo ar ei ddoethaf. Y mae'r efengyl yn *myned* yn ddoethineb i'r dŷn a'i derbyniodd fel ffolineb. Y mae hi yn ymdroi yn *drefn* o'r fath gywreiniaf i'r neb a'i credodd fel ffaith. Ni pharhaodd y pren croes yn bren llwm: y mae efe wedi gwreiddio yn naear Calfaria, ac wedi bwrw allan

lawer o geingciau preiffion; ac am hynny, y mae'r apostol yn ei epistolau yn sôn am y groes fel pryffwnt y byd a'i hanes; fel y ddolen gydiol rhwng y greadigaeth gyntaf a'r ail; fel cyfrwng i gyfuno ynghyd yr Iddewon a'r Cenedloedd, dynion ac angylion, dan arglwyddiaeth Crist.

Ond i'r rhai cadwedig: i'r rhai ysprydol, y bwriadwyd y gwirioneddau eglurhaol hyn. Un gwirionedd, a hwnnw wedi ei grynhoi mewn un gair a fwriadwyd i'r rhai sydd heb gredu.—"Gwir yw'r Gair, ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid." Y mae'r efengyl yn ei bôn yn gynnwysedig mewn un ymadrodd: yr ymadrodd am y groes. Mynegi tystiolaeth Duw am ei Fab, a hynny yn unig, yw efengylu, yn ôl darnodiad yr apostol. Pe buaswn i yn pregethu i baganiaid, neu i Gymry angrediniol, ni buaswn i yn dywedyd wrthynt nemmor chwaneg na hyn: Y mae Crist wedi marw; y mae Duw yn cyfiawnhau; a phe buasent hwythau yn fy holi, gan ddywedyd, Pwy sy'n cyhuddo? a phwy sy'n condemnio? ni buaswn i ddim yn ymdroi i atteb, eithr dywedyd a wnaethwn drachefn: "Duw yw'r hwn sy'n cyfiawnhau; Crist yw'r hwn a fu farw"; na, buaswn yn dywedyd tri pheth arall am Grist: "yr hwn a gyfodwyd hefyd; yr hwn hefyd sydd ar ddeheulaw Duw; yr hwn hefyd sy'n erfyn drosom ni." Pa *hefyd* arall a all fod heb law y tri "hefyd" hyn? Dyma ddigon o wirioneddau i wneyd byd o bechaduriaid yn ddoeth i iachawdwriaeth. Gan nad pa wirioneddau sy'n dyscu dynion i deyrnas nefoedd, dyma'r gwirioneddau sy'n cadw.

Dyma fi yn awr yn dyfod at amcan y pregethu.—"Fe welodd Duw yn dda trwy ffolineb pregethu gadw." Os rhyngodd bodd iddo ef gadw, yna rhaid ein bod ni yn golledig; a cholledig ydym wrth naturiaeth. Yr ŷm yn golledig am ein bod yn ddifeddwl, fel y ddafad a gollesid; yn golledig am ein bod yn anfuddiol, fel y

darn arian a gollesid, yn golledig am ein bod yn mynnu'n ffordd ein hunain, fel y mab afradlon. Er hynny, nid ŷm yn golledig fel rhai heb obaith ganddynt; ac am hynny, y mae'r apostol yn arfer y ferf "colli" mewn modd ac amser gwahanol i'r modd a'r amserau y mae efe yn ei harfer pan yn cyfeirio at golledion di-obaith. A dilyn y cyfieithiad cywir, nid oes ar y ddaear neb colledig, na neb cadwedig chwaith; canys rhai yn *myned* ar goll; ac nid rhai wedi eu colli, yw angredinwyr. Yr un ffunud, rhai *yn cael* eu cadw, ac nid rhai wedi eu cadw, yw credinwyr. Fry y mae'r cadwedigion; obry y mae'r colledigion. Ond y mae pawb a'r sy'n credu ar y ffordd sy fry, a phawb a'r sy'n anghredu yn myned tu ag uffern obry. A pha beth ydyw uffern amgen na lle y caiff pechadur gyfleusdra ynddo i fyned rhagddo byth bythoedd ar hyd y llwybr a ddewisodd yn y fuchedd hon. Y mae efe yn dewis cyfeiliorni ac ymadaw oddi wrth y Duw byw yn y byd hwn; ac yn y byd tragwyddol fe gaiff anialwch diderfyn i gyfeiliorni ynddo. Y mae y rhai sy'n haeru y diddymmir yr annuwiolion yn y byd a ddaw am y pared â gwirionedd pwysig. Byw ni bydd y colledigion, a bydd eu bod yn uffern y nesaf peth i beidio â bod. Y maent yn awr yn colli beunydd beth o'u henaid wrth geisio ennill y byd yn ei gyfoeth, ei ogoniant a'i bleserau; ac erbyn yr elont i fyd arall, ni bydd ganddynt fawr o enaid yn aros—dim digon o enaid, yn sicr, i fwynhau'r nef, pe'u codid i'r nef. O! nid trefn i gadw pechadur rhag uffern yn unig ydyw trefn yr efengyl, eithr trefn i'w gadw rhag dyfetha'i hun yn y byd hwn. Os nad ŵyt etto yn golledig, fe'th ddinistriaist dy hun eisoes; y mae dy enaid, os nad dy gorff hefyd, yn furddyn adfeiliedig; ond yn Nuw y mae dy gymmorth. Gall efe wneuthur palas o gerryg y murddyn. Gall yr hwn a'th wnaeth dy ailwneuthur; canys y mae efe mor alluog i adferu ag ydoedd i adeiliadu.

Angredinwyr, beth yw 'ch oedran? Pa sawl blwyddyn sydd er pan ddechreusoch wrthod eich iachawdwriaeth?—ugain? deugain? trigain? Yr ydych byth er hynny yn *myned* ar goll. Am ba hyd, a pha mor bell yr ewch ar goll? Pa bryd yr ych yn meddwl cymmeryd eich cadw? Y flwyddyn nesaf?—Pa faint o enaid a fydd gennych i'w gadw erbyn hynny, pe rhôn na ddeil angau monoch y flwyddyn hon? Pa faint o fywyd tragwyddol a ellwch ei gynnwys ym mhen deuddeng mis? Oni wyddoch mai wrth golli'ch enaid yn y byd hwn, ac ymgrebachu yn eich yspryd, yr ydych yn myned ar goll? O! od oes gennych etto ddigon o enaid i ddymuno cael ei gadw, na siommwch y dymuniad hwnnw ddim yn hwy, ac na ddihoenwch hyd farw, eithr cymmerwch afael yr awr hon ar hynny o fywyd tragwyddol ag y dichon i'ch llaw wywedig ei ddal. Y mae yn ddiau y teimlwch dros weddill eich oes, a thros oesoedd diderfyn tragwyddoldeb, oddi wrth effeithiau'r cam a wnaethoch eisoes â'ch enaid eich hun. Gadewch iddo, bydd rhyw lun o fyw yn y nef yn well na marw yn uffern.

Pe na buasai yn bwysiccach cael Duw yn fuan nag yn hwyr, buasai efe wedi gadael i'r byd ymdroi i geisio'i adnabod trwy ei ddoethineb ei hun; ond wrth ymdroi, y mae'r byd yn ymgolli; ac am hyny fe welodd Duw yn dda ddarparu trefn i'w gadw. Y mae'r drefn hon yn arwyddo fod arno ef fwy o frys i'ch cael chwi nag sydd arnoch chwi i'w gael ef. A ydych yn meddwl mai difatter ganddo'ch colli? Na, fe ymbwyllodd ormod i'ch creu; fe ymdrafferthodd ormod i'ch magu, i allu bod yn ddiofal am eich tynged. Mesurwch ei olaf ef, a gwerth eich enaid eich hun, wrth yr hyn a wnaeth efe eroch yn ei Fab. Ai er mwyn newid awyr, tybed, yr ymwelodd efe â ni o'r uchelder? Ai er mwyn ymddifyrru, fel yr ymddifyrra'r heliwr mewn hela, yr

ymwthiodd efe i'r anialwch i geisio'r hyn a gollesid? Na; ymwelodd â ni er mwyn dwyn ein clefydau; dyfod yma i geisio er mwyn cadw, a wnaeth efe. Er ei fod yn rhoddi yn hael—yn rhoddi hyd at ymddangos yn afradlon, etto nid yw yn ewyllysio colli y dim lleiaf. Y mae efe yr un ffunud a'i Fab. Gwnaeth hwnnw wledd o gig a bara unwaith i bum mil o folerwyr anniolchgar; ond ar y diwedd, y mae efe yn dywedyd, "Cesglwch y briwfwyd gweddill, fel na choller dim."

O! angredinwyr a gwrthgilwyr, pa lun bynnag sydd arnoch yn awr, credwch eich bod yn gymmwys i'ch cadw, ac y bydd yn dda gan gàlon Duw eich cael. Defaid cyfrgolledig ydych; defaid er hynny ac nid geifr. Meibion afradlon ydych; meibion er hynny ac nid estroniaid. Er bod ôl y llaid ar eich corff, ac ôl y drain ar eich dillad, gwnewch yn fawr o'r hên berthynas sy rhyngoch a Duw. Dywedwch wrtho, "Ti yw ein Tad ni; er nad edwyn Abram ni, ac na'n cydnebydd Israel, ti, Arglwydd yw ein Tad ni; dy enw sydd erioed." Cofiwch fod eich Gwaredydd yn Dad ichwi; ac nid oes un tad mor dirion a hwn. Os yw efe yn *rhy* rywbeth, rhy feddal yw. Pa un ai am ei fod yn fawr ai am ei fod yn feddal, tybed, y mae yn goddef rhai o honoch i fyw i achwyn ei fod yn dost? Y mae Duw yn anfeidrol fawr, ac yn anfeidrol fwyn hefyd; ac am fod anfeidrol fwynder ynglŷn âg anfeidrol fawredd, y mae ei fwynder yn ymddangos yn ffolineb. Ond y mae'r Tad hwn yn fwyn wrth feibion cyndyn. Pa ham y penderfynodd e arbed rhai oedd yn haeddu eu cospi? Am iddo weled yn dda. Ond pa ham y gwelodd e hynny yn dda? A oddefir imi ddywedyd yn eglur yr hyn y mae'r apostol yn ei awgrymmu yn yr ymadrodd "ffolineb Duw"?—Am ei fod yn Dad ffôl y gwelodd yn dda ein cadw. Pa beth a'i ffolodd? Gwres ei gariad, bid sicr; canys pa beth arall a allasai ffoli y Duw unig ddoeth? O! ni buasai dim

gobaith am danom ni, oni buasai fod Duw wedi ymgolli yn ei gariad tu ag attom. Ni wn i ddim pa beth a weloddd efe, chwaith, yn y ddynoliaeth. Tybed a garodd e hi o blegid yr hyn a fu hi yn yr hên amser gynt? Ai cofio caredigrwydd ei hieuenctid a serch ei dyweddi a wnaeth? Neu ynte, a garodd e hi o blegid yr hyn a fydd hi, ar ôl ei golchi yn y gwaed, a'i gwisco yn ei gwyn? Na, fe'i carodd fel y'i cafodd, yn ymdrybaeddu yn ei gwaed ei hun.

Er hyn i gyd, y mae eiddigedd yn ei gariad, ac y mae efe yn cospi dŷn wrth ei gadw; canys cadw y mae am fod dŷn heb fynnu ei adnabod ef, a chadw trwy ffolineb am fod dŷn wedi diystyru ei ddoethineb. Wrth fwrw dwfr ar fyd y rhai anwir, ac wrth fwrw tân ar ddinasoedd y gwastadedd, cadw trwy gospi yr oedd; ond yn nhrefn yr iachawdwriaeth, cospi trwy gadw y mae. Blinodd Duw ar gospi rhai er mwyn rhybuddio eraill; am hynny, addawodd na foddai efe'r byd byth mwy, ac na loscai efe un rhan o'r ddaear hyd oni chynneuid y golcerth fawr. Ond er cadw'i air yn yr ystyr uchaf, fe'i torodd mewn ystyr uwch; canys, gan foddi, *fe* foddwyd y byd eilwaith—ond a diliw o haeddiant; gan losci, *fe*'i lloscwyd cyn yr amser—ond â marwor maddeuant. O, ddialedd bendigedig! Byddai darn pennill Thomas Jones o Ddinbych cystal fel hyn ag fel y'i gwnaed:

O gospedigaeth hawddgar!
O gospedigaeth gref!
A ddaeth o'r nef i'r ddaear,
I'n dwyn o'r ddae'r i'r nef.

Nid yw'r drefn hon, i mi yn bendifaddau, ddim yn "iachawdwriaeth glir," canys

Fu dyfais o'i chyffelyb
Erioed ar fôr na thir.

Dyfais nefol: gorchest awen ddwyfol, oedd cospi dŷn trwy ei gadw.

Pwy, yn ôl y testyn, sy'n cael eu cadw? Y rhai sy'n credu. "O, ie, medd rhywun, da y gwnewch yn sôn am gredu; canys y credu sydd i mi yn anawdd; yr ammod sydd yn galed." Ni fynnwn i ddywedyd nad ydyw credu yn beth anawdd, am y gwn y rhaid i bwy bynnag a ymroddo i Grist trwy ffydd, ymwadu âg ef ei hun. Er hynny, pe caet olwg arnat dy hun yn dy drueni, ac ar Grist yn ei ras, byddet yn barod iawn i wadu dy hun, ac i ymguddio ynghyfiawnder un arall. Am dy fod yn rhy ddoeth ac nid yn rhy ynfyd, yn rhy gryf ac nid yn rhy wan, yn rhy fawr ac nid yn rhy fach, yn rhy falch ac nid yn rhy wylaidd, y mae yn anawdd gennyt gredu. Y mae Duw yn ddiammau yn bwriadu darostwng dŷn wrth orchymmyn iddo gredu. Gan na fynnodd ymddyrchafu at Dduw trwy ei ddoethineb, rhaid iddo bellach ymostwng iddo trwy gredu. Gan i Dduw appelio yn ofer at reswm dŷn, y mae yn awr yn ei gospi, trwy appelio at gynneddf arall, sef ffydd. Ond er fod credu yn beth anawdd, y mae'r hawddaf o bob peth, oddi gerth anghredu. A fedrwch chwi'ch hunain ddychmygu moddion haws? Caniattewch imi ofyn peth arall buddiolach: A fynnwch chwi fod yn gadwedig? Ie, nid gofyn yr ydwyf a ydych yn foddlon i *gael* eich cadw, eithr, a ydych yn foddlon i *gymmeryd* eich cadw? Pwy sy'n cael eu cadw? Y rhai sy'n credu. A pha beth y mae y rheini yn ei wneuthur wrth gredu? Cymmeryd eu cadw. Yn wir, y mae credu y nesaf peth i wneyd dim. Ni raid i chwi *chwilio* am Dduw, er mwyn bod yn gadwedig; y mae yn ddigon ichwi adael i Dduw gael hyd i chwi. Rhai yn cilio oddi wrth Dduw, rhai yn ffoi oddi wrtho, a fydd yn golledig. O! angredinwyr, sefwch, da chwi; ac os na fynnwch sefyll, cerddwch yn araf tu a distryw, er mwyn i'r Ceidwad eich dal. Y mae Duw wedi gweled yn dda gadw—pa bryd y gwelwch chwi yn dda gredu?

## X.

## Y CROESHOELIAD YN DDYRCHAFIAD.

"*Pan ddyrchafoch chwi Fab y dyn, yna y cewch wybod mai myfi yw efe.*"—IOAN VIII. 28.

UN gwahaniaeth mawr rhwng diwinyddion diweddar a'r hên ddiwinyddion; neu, os mynnwch, rhwng y Catholigion a'r Protestaniaid, yw hyn: fod y Protestaniaid yn cyfrif y Bibl nid yn unig yn un llyfr âg iddo unoliaeth, eithr hefyd yn gascliad o lyfrau, y sy'n amrywio yn eu dull a'u defnydd; a hynny am eu bod wedi eu scrifennu ar wahanol amserau, gan wahanol ddynion, gwahanol eu cymmeriadau, gwahanol eu dawn, gwahanol eu dysc, a gwahanol eu hamgylchiadau. Yn eu golwg hwy, y mae'r Bibl yn Scrythyr ac yn Scrythyrau, yn air Duw ac yn eiriau dynion. Y mae yn ddwyfol am ei fod o Dduw, ac yn ddynol am ei fod trwy ddynion. Ennyn dawn y dynion ac nid ei fygu a wnaeth Duw wrth eu hysprydoli; "Dynion santaidd Duw a lefarasant megis y cynhyrfwyd hwy gan yr Yspryd Glân." Cynhyrfwyd y bardd i fod yn fwy barddonol, a chynhyrfwyd y gŵr hyawdl i fod yn hyotlach nag ydoedd o'r blaen. Camsyniad dybryd yw'r syniad mai gwehilion y bobl a ddewisodd Duw yn broffwydi, yn efengylwyr ac yn apostolion iddo'i hun. Os nad oeddynt oll y rhai mwyaf goludog a'r rhai mwyaf llythrennog o'r bobl, yr oeddynt y rhai mwyaf dawnus a ellid eu cael; ac o'r ddau gwell yw dawn na dysc, megis ag mai gwell yw dysc na golud. Er na chafodd Ioan mo'r manteision addyscol a chymdeithasol a gafodd Esay, ac nad oedd ganddo felly y fath gyflawnder o eiriau ag oedd gan y proffwyd disclair hwnnw; etto gallodd wneyd

defnydd da o hynny o eiriau a oedd ganddo. Er iddo scrifennu mewn iaith estronol, a iaith nad oedd efe yn hyddysc iawn ynddi; etto, y mae ganddo'i arddull wrth scrifennu yn honno; ac y mae'r arddull hwnnw yn glynu mor dyn wrtho, fel na all efe mo'i fwrw heibio, hyd yn oed wrth goffàu y pethau a ddywedodd rhai eraill; ac am hynny, y mae efe yn gwneyd i Ioan Fedyddiwr a Nicodemus a Iesu Grist a phawb, lefaru yn ei ddull ef ac nid yn eu dull hwy eu hunain; a hynny ydyw un achos pa ham y mae cynnifer o adnodau yn Efengyl Ioan, na wyddys yn sicr pwy a'u llefarodd. Yr oedd gan Ioan fwy o allu i gofio meddyliau pobl eraill nag i gofio'u geiriau. Yr oedd efe yn fwy nodedig am gryfder a neillduolrwydd ei feddwl nag am ystwythder ei feddwl. Yr oedd y tri efengylwr cyntaf yn ystwythach eu meddwl; am hynny, yr oeddynt hwy yn gallu ymryddhau oddi wrth eu dull eu hunain o scrifennu, pan fyddent yn coffàu y pethau a ddywedodd yr Arglwydd Iesu. Yn eu hefengylau hwy, y mae digon o ragor rhwng eu geiriau hwy eu hunain a geiriau personau eraill; canys scrifennu yr oeddynt hwy yn hytrach oddi ar gof nag oddi ar fyfyrdod.

Un efengyl sydd, sef efengyl Iesu Grist; er hynny, y mae'r efengyl honno yn ôl Mathew, yn ôl Marc, yn ôl Luc, ac yn ôl Ioan. Efengyl Crist yr oedd Paul hefyd yn ei phregethu; er hynny, y mae yn sôn am ei efengyl ef ei hun, sef yr efengyl fel yr oedd hi yn ymddangos iddo ef, ac yn y ffurf yr oedd efe yn ei thraddodi i eraill: "Yn y dydd y barno Duw ddirgeloedd dynion yn ôl fy efengyl i." Dalm o amser yn ôl, yr oedd syniad dynion am ysprydoliaeth y Bibl mor gyfyng a chelfyddydol, fel y buasai yn drosedd haeru fod y scrifenwyr santaidd yn ymwahaniaethu hyd yn oed mewn arddull yn unig. Erbyn hyn, yr ydys yn addef eu bod hwy yn amrywio mewn pethau pwysiccach nag arddull; canys y mae un apostol yn rhoi amlygrwydd i'r ochr yma i ryw wirionedd,

ac apostol arall yn rhoi amlygrwydd i'r ochr accw iddo. Er fod eu syniadau yn gysson â'u gilydd yn y bôn, etto y maent yn wahanol iawn ar y wyneb. Cymmerer yn engraifft yr hyn y mae Paul a Ioan yn ei ddywedyd am ymgnawdoliad a marwolaeth Crist. Yn ôl Paul, yr oedd Mab Duw wrth ymgnawdoli, yn tlodi ei hun, ac yn dibrisio 'i hun, sef yn gwaccàu neu yn diddymmu ei hun; ac wrth farw ar y groes, fe'i darostyngodd ei hun yn is fyth. Y mae'r apostol hwn yn coffàu mai "melldigedig yw pob un sydd ynghrog ar bren." Yn y gwrthwyneb, nid yw Ioan yn dywedyd dim a'r sy'n arwyddo fod yr ymgnawdoliad yn ymddarostyngiad, neu fod y farwolaeth ar y groes yn farwolaeth waradwyddus. Y mae yn dywedyd, yn wir, ddarfod i Fab Duw ddiscyn o'r nef; ond yn ei olwg ef, rhyw ddiscyniad lleol yn unig ydoedd hwnnw, ac nid discyniad mewn cyflwr. Ni pheidiodd y Gair â bod yn Air pan y'i gwnaethpwyd yn gnawd. Nid ymwadodd Mab Duw â dim o'i ddwyfoldeb nac â dim o'i ogoniant wrth ddyfod yn ddŷn. Fe drigodd yn ein plith ni yn llawn gras a gwirionedd, a gwelodd yr apostolion ei ogoniant ef yn y cnawd, gogoniant megis yr uniganedig oddi wrth y Tad. Yn hytrach na thlodi ei hun, cyfoethogi ei hun a wnaeth Mab Duw wrth ddyfod yn Fab y dŷn, am nad oedd wrth hynny ond chwanegu'r dynol at y dwyfol. Fe ddychwelodd at y Tad yn gyfoethoccach nag y daeth oddi wrtho, gan iddo ddwyn ei ddynoliaeth ei hun, a dwyn meibion lawer gyd âg ef i ogoniant.—"Wele fi a'r plant a roddes Duw i mi." "Wele fi a'r corff a roddes Duw i mi." "Corff a gymhwysaist; hynny ydyw, corff a ddarperaist i mi," meddai rhywun a scrifennodd o flaen Ioan. Yr oedd awdur y Llythyr at yr Hebreaid, fel Ioan ei hun, wedi canfod fod danfon yr Ail Berson i'r byd yn fwriad tragwyddol a sefydlog yn Nuw, a bod rhyw briodoldeb neillduol yngwaith Mab Duw yn dyfod yn ddŷn; ïe, fod yn briodol iddo ef, er ei

fwyn ei hun ac er mwyn eraill, farw hefyd, ar ôl dyfod i fyd pechadurus.—"Gweddus oedd iddo ef, o herwydd yr hwn," neu yn well, "er mwyn yr hwn, y mae pob peth, a thrwy yr hwn y mae pob peth, wedi iddo ddwyn meibion lawer i ogoniant, berffeithio Tywysog eu hiachawdwriaeth hwy trwy ddioddefiadau." Buasai pob peth trwyddo ef ped arosasai ym mynwes ei Dad; ond ni buasai pob peth erddo, oni buasai iddo ymgnawdoli a marw. Trwy ddyfod yn Waredwr yr oedd Mab Duw yn cyrraedd ei amcan fel Creawdr. Y mae Efengyl Ioan yn gystal a'r Epistol at yr Hebreaid yn ffafrio'r hên olygiad y buasai Duw yn ymddangos yn y cnawd pe na ddaethai pechod i'r byd; am na buasai modd gwneuthur y dŷn a grewyd yn uniawn yn ddŷn perffaith—am na buasai modd dyrchafu dŷn at Dduw, heb i Dduw ddiscyn yn gyntaf at ddŷn; a phe na buasai'r Creawdr yn perffeithio 'i greaduriaid, trwy fod yn esampl iddynt, yn eu natur hwy eu hunain, ni allasai efe dderbyn y gogoniant uchaf oddi wrthynt. Ni fynnwn i ddywedyd yn sicr fod yr ymgnawdoliad yn berffeithiad ar Fab Duw; er fod yn anawdd gennyf synio pa fodd y gall Person dwyfol, mwy na pherson dynol, gael ei hun yn gwbl oll, heb roddi ei hun er mwyn eraill. Y mae yn ddigon i mi ddywedyd gyd â Ioan, na chollodd Mab Duw ddim wrth ddyfod yn y cnawd, ac na chollodd hyd yn oed wrth farw gymmaint ag a ennillodd. Fe gollodd ei fywyd naturiol, y mae yn wir, ond ennillodd ogoniant oedd yn werthfawroccach na hwnnw, ac ennillodd hefyd gariad arbennig ei Dad.—"Am hyn, eb efe, y mae'r Tad yn fy ngharu i, am fy mod yn dodi fy einioes fel y cymmerwyf hi drachefn." Er fod Ioan yn rhoi mwy o amlygrwydd i'r wedd hon ar farwolaeth Crist nag y mae Paul yn ei roi, etto nid yw hi yn guddiedig yn nysceidiaeth yr apostol hwn chwaith; canys y mae efe yn dywedyd yn yr Epistol at yr Ephesiaid fod gwaith Crist yn rhoddi ei hun drosom, yn offrwm ac yn

aberth i Dduw o arogl peraidd. Y mae hyn yn ddigon i ddangos nad yw dysceidiaeth yr apostol hwn ddim yn wrthwynebol i ddysceidiaeth Ioan, er ei bod yn wahanol. Yr ydys yn cael yn epistolau Paul hefyd egin yr athrawiaethau sy wedi tyfu a ffrwytho yn Efengyl Ioan. Dylid cofio fod y dadguddiad a roes Duw yn y Testament Newydd, fel yn yr Hên Destament, yn gynnyddol; a chan mai Efengyl Ioan a scrifennwyd ddiweddaraf, fe ddadguddiwyd trwyddo ef rai pethau yn llawnach ac yn eglurach nag y dadguddiwyd hwynt trwy yr apostolion eraill.

Er mwyn deall pa ham y mae Ioan yn rhoi mwy o bwys ar rai pethau, a llai o bwys ar bethau eraill na'i frodyr yn y ffydd, rhaid cofio yn wastadol beth oedd ei amcan mawr yn scrifennu ei efengyl. Y mae efe ei hun yn dywedyd yn niwedd yr efengyl fod llawer o bethau eraill y gallesid eu scrifennu am yr Iesu; "eithr, meddai, y pethau hyn a scrifennwyd fel y credoch chwi mai'r Iesu yw Crist, a chan gredu, y caffoch fywyd yn ei enw ef." Nid oedd yn gyttunol â'i amcan ef adrodd hanes yr Iesu yn llawn ac yn fanwl, eithr yn unig dynnu sylw dynion at y geiriau a'r gweithredoedd a oedd yn dangos fod yr Iesu yn Fab Duw. Am hynny. mae yn gadael allan lawer o bethau a allasai fod yn achlysur iddynt i anghofio'i ddwyfoldeb, ac i beri iddynt synio yn is am dano nag y dylid synio. Nid yw Ioan gan hynny yn sôn dim am enedigaeth yr Iesu o wraig. Y mae yn fwy ganddo ef gael gan ddynion gofio pwy oedd Tad yr Iesu na phwy oedd ei fam. Prin y mae yn wiw ganddo fynegi ddarfod bedyddio'r Iesu; ond y mae yn rhoi lle mawr i dystiolaeth y Bedyddiwr am dano. Nid yw yn dywedyd i'r Iesu gael ei demtio gan ddiafol yn yr anialwch, iddo newynu yno, a chael ei nerthu gan angylion. Nid yw yn sôn dim am ei ofn a'i lefain, ei chwys a'i ddagrau yn Gethsemane. Ys gwir ei fod yn rhoi hanes ei farwolaeth, ond nid yw yn dywedyd

ddarfod i'r Iesu lefain, "Fy Nuw, fy Nuw, pa ham y'm gadewaist?" Gwell ganddo ef goffàu gair arall na cheir mono gan yr efengylwyr eraill, sef y gair buddugoliaethus "Gorphennwyd." Nid yw efe fel yr efengylwyr eraill, yn cofio ddarfod i'r Iesu ragfynegi y croeshoelid ac y lleddid ef; ond y mae yn cofio yn dda ddarfod iddo ddywedyd amryw weithiau y dyrchefid ac y gogoneddid ef: "Megis y dyrchafodd Moses y sarff yn y diffeithwch, felly y mae yn rhaid dyrchafu Mab y dŷn." "Daeth yr awr y gogonedder Mab y dŷn." "A minnau, os dyrchefir fi oddi ar y ddaear, a dynnaf bawb attaf fy hun." "Yn awr y gogoneddwyd Mab y dŷn, a Duw a ogoneddwyd ynddo ef." "Pan ddyrchafoch chwi Fab y dŷn, yna y cewch wybod mai myfi yw efe."

Yr ych yn gweled fod y gair "dyrchafu" yn air amwys, sef yn air â dau ystyr iddo; am ei fod yn arwyddo dyrchafu o ran lle, a dyrchafu o ran cyflwr hefyd; ac am fod iddo'r ystyr olaf hwn y mae yn air mor hoff gan Ioan. Y mae efe megis yn herian ar yr Iddewon, gan ddywedyd, Tybiasoch chwi eich bod yn darostwng eich gwir Frenin wrth ei grogi ar bren rhwng dau leidr, ond ei ddyrchafu a wnaethoch. Wrth ei ddyrchafu ryw ddwy droedfedd uwch law'r ddaear, fe'i dyrchafasoch mewn anrhydedd yn uwch na'r nefoedd. Yscol oedd eich croes chwi i Fab y dŷn escyn ar hyd ddi i'w orsedd.

Y mae pawb bellach wedi deall mai hyn yw meddwl y testyn, a phwngc fy mhregeth innau, sef, *Fod y croeshoeliad yn ddyrchafiad*, neu *Fod marwolaeth Crist yn ogoneddiad arno.* Fe'i dyrchafwyd ef mewn modd arbennig pan y'i croeshoeliwyd; er hynny nid y pryd hwnnw y dechreuwyd ei ddyrchafu. Fe'i dyrchafwyd ef mewn gogoniant pan ddiscynnodd gyntaf i'r ddaear; canys yr oedd y Tad yn anrhydeddu ei Fab yn fawr wrth ei ddanfon i fod yn Waredwr i'r byd, ac yn esampl i ddynion. Dygais un adnod i ddangos nad yw syniad

addfettach Ioan am farwolaeth Crist ddim yn gwbl ddieithr i Paul. Yr un ffunud, gellir dwyn adnodau i ddangos nad yw syniad Ioan am yr ymgnawdoliad hefyd ddim yn ddieithr i Paul chwaith; canys y mae hwn yn dywedyd nad oedd yr Adda cyntaf ond ffurf; hynny ydyw, cynddelw neu raglun o'r hwn oedd ar ddyfod—o'r hwn oedd wedi ei ordeinio i ddyfod pan fwriadodd Duw greu dŷn; canys y dŷn Crist Iesu a lanwodd yr enw dŷn; am hynny yr ydys yn ei alw yr Ail ddŷn, yr Arglwydd o'r nef. Y dŷn cyflawn a pherffaith hwn oedd yngolwg Duw wrth greu braslun o ddŷn yngardd Eden. Pe nad ymddangosasai yr Ail ddŷn, ni chyrraeddasai 'r ddynoliaeth y perffeithrwydd y bwriadwyd iddi ei gyrraedd. Dŷn uniawn ac nid dŷn perffaith oedd y dŷn cyntaf, a mab dŷn oedd pob un o'i hiliogaeth ef; ond yr oedd yr Adda diweddaf yn Fab *y* dŷn—yn fab y ddynoliaeth; am ei fod ef yn crynhoi ynddo'i hun holl ragoriaethau'r ddynoliaeth, ac yn cyflawni ynddo'i hun holl fwriadau Duw wrth ei chreu. Ymddangosodd Mab Duw gan hynny er mwyn dynion fel dynion, ac nid er mwyn dynion fel pechaduriaid yn unig. Wrth ddyfod yn y cnawd y gallodd Mab Duw ddadguddio'i hun i ddynion, a dadguddio'i Dad ynddo'i hun; ac heb y dadguddiad llawn hwn, ni allasai'r Creawdr ddangos nemmor o'i ogoniant, na derbyn nemmor o ogoniant, gan ei greaduriaid. "Yr Arglwydd, medd y gair, a wnaeth bob peth er ei fwyn ei hun." Er ei fwyn ei hun, sef er mwyn ei ogoniant ei hun, ac er mwyn boddloni ei gariad ei hun, y daeth y Mab i'r byd, ac er ei fwyn ei hun y danfonodd y Tad ef i'r byd, ac nid er mwyn dynion yn unig. Yn wir, y mae Martensen yn myned mor bell a dywedyd fod yr ymgnawdoliad yn angenrheidiol er perffeithio'r Mab ei hun; am mai wrth ymddangos yn y cnawd yr aeth efe yn yr ystyr uchaf yn Arglwydd, er gogoniant Duw Dad. Ni feiddiwn i ddywedyd cymmaint a hynny; ond y mae

agos bob diwinydd diweddar a'r sy'n credu o gwbl yn yr ymgnawdoliad yn barod i ddywedyd cymmaint a hyn, sef fod ymgnawdoliad Mab Duw yn angenrheidiol er perffeithio'r ddynoliaeth; canys fel yr oedd yr Adda cyntaf yn ben a choron natur, felly yr oedd Crist yn ben a choron y ddynoliaeth. Ie, y mae efe yn gyntafanedig pob creadur, yn y nef ac ar y ddaear; ac am ei fod yn Alpha'r greadigaeth y mae yn Omega iddi hefyd. Gan ddarfod creu pob peth trwyddo, fe grewyd pob peth erddo hefyd. Efe ydyw amcan, ac efe ydyw canolbwynt y greadigaeth, yn yr hwn y darfu i Dduw grynhoi ynghyd yr holl bethau sydd yn y nefoedd ac ar y ddaear.

Fe welir oddi wrth hyn fod Paul ei hun mewn mannau yn rhoi ar ddeall nad oedd ymddangosiad Mab Duw yn y cnawd ddim yn dibynnu yn gyfangwbl ar ymddangosiad pechod yn y byd; ac felly fod yr ymgnawdoliad yn beth angenrheidiol ac urddasol, ac nid yn beth damweiniol a darostyngol.

Y mae rhai diwinyddion diweddar wrth orbwyso cymmaint ar athrawiaeth yn ymwaccâd, yn anghofio fod yr apostol y sy'n rhoi mwyaf o amlygrwydd i'r athrawiaeth honno, yn dangos mewn llawer o ymadroddion fod yr ymgnawdoliad yn rhywbeth amgen nag ymwaccâd, pan edrycher arno yn ei berthynas â'r greadigaeth, ac â dynoliaeth fel dynoliaeth, ar wahân i'w chwymp; ïe, y mae'r diwinyddion hynny yn colli golwg yn llwyr ar ddysceidiaeth Ioan; canys y mae efe yn dangos nad ymadael â dim oedd ganddo o'r blaen a wnaeth Mab Duw wrth ddyfod yn Fab y dŷn, eithr dwyn ei gyflawnder gyd âg ef hyd attom ni, a hynny mor agos fel y gallem ni dderbyn o'r cyflawnder hwnnw. Nid cuddio'i fywyd dwyfol a wnaeth efe, eithr ei egluro.—"Y bywyd a eglurhawyd." Fe'i gwnaethpwyd ef yn gnawd, am mai yn y cnawd y gallai efe ddadguddio i ddynion holl

feddwl a chàlon Duw. Yn ôl Ioan, dyrchafu'r ddynoliaeth ac nid darostwng ei hun a wnaeth Mab Duw wrth ddyfod yn ddŷn. Y mae'r efengyl hon yn pwyso ar y ffaith fod y Gair yn Dduw, ac na all Duw ddim peidio â bod yr hyn ydyw dros funud awr. Ni wnaeth ei ymgnawdoliad na'i farwolaeth na dim arall, newid dim ar ei natur ac ar ei urddas ef. Y cwbl a wnaethant oedd newid ei berthynas â dynion, a newid eu teimladau a'u hymddygiadau hwythau tu ag atto. Os yw'r Iesu unwaith yn cyfeirio at y gogoniant oedd iddo cyn bod y byd, cyfeirio y mae nid at y gogoniant a oedd ynddo ac o hono, eithr at y gogoniant allanol, annherfynol oedd iddo, cyn i bechod y byd a gwrthwynebiad dynion dynnu dim oddi wrtho. Hyd yn oed pe derbynnid yr hên esponiad cyffredin ar yr adnod, byddai yn rhaid addef wedyn mai hon yma yw'r unig adnod yn Efengyl Ioan, sy'n awgrymmu fod Mab Duw yn llai ar y ddaear nag ydoedd o'r blaen yn y nef. Am yr adnod arall, lle mae'r Iesu yn dywedyd fod y Tad yn fwy nag ef, nid meddwl honno ydyw fod Mab Duw wedi myned yn llai na'i Dad ar ôl ei ddyfod yn ddŷn. Mynegi y mae hi fod y Mab yn llai na'i Dad am mai mab ydyw. Er fod pob mab yn gydradd â'i dad o ran natur, etto, y mae Mab Duw, fel mab dŷn, o anghenraid yn llai na'i dad o ran perthynas. Yn yr ystyr yma, yr oedd Mab Duw erioed yn llai na'i Dad, a'i Dad yn fwy nag yntau.

Ym mhellach: Fel y gogoneddodd y Tad ei Fab wrth ei anfon i'r byd, felly hefyd yr oedd efe yn ei ogoneddu yn barhaus *yn* y byd. Hyd yn oed pan y mae'r Iesu yn edliw i'r Iddewon eu bod yn ei ddianrhydeddu, y mae yn dywedyd fod ei Dad yn ei ogoneddu y pryd hwnnw. Ys gwir nad oedd yr Iddewon ddim yn gweled ei ogoniant; ond eu dallineb ysprydol hwy oedd yn peri hynny. "Y rhai pur o gàlon a welant Dduw," ac "heb santeiddrwydd ni chaiff neb weled yr Arglwydd." Yr oedd y gogoniant

yr oedd efe yn ei dderbyn gan ei Dad yn rhy ysprydol iddynt hwy allu ei ganfod.

Ond pa ogoniant bynnag oedd yn perthyn i ymgnawdoliad ac i fywyd Crist, yn ei farwolaeth y gogoneddwyd ef mewn modd arbennig. Yr oedd y gogoniant â'r hwn y gogoneddwyd ef ar y groes gymmaint amlyccach na'r gogoniant oedd iddo o'r blaen, fel y dywedodd yr Iesu am dano cyn ei ddyrchafu ar y groes, "Ni ogoneddasid yr Iesu etto," a chofier mai at ei ogoneddiad yn ei farwolaeth yr ydys yn cyfeirio yn yr adnod hon hefyd.

Yn awr, am ba reswm y dywedodd yr Iesu fod ei farwolaeth yn ogoneddiad arno? neu fod ei ddyrchafiad ar y groes yn ddyrchafiad mewn anrhydedd? Am y rheswm mai ar y groes y dangoswyd yn amlwg pwy ydoedd efe, a pha fath un ydoedd.—"Pan ddyrchafoch chwi Fab y dŷn, yna y cewch wybod mai myfi yw efe." Nid yw yn dywedyd mai myfi yw hwnnw neu hynny, megis mai myfi yw'r Crist, neu myfi yw'r Goleuni, eithr mai myfi ydyw; am hynny, y mae rhai esponwyr yn barnu mai ystyr yr ymadrodd yw hyn: "yna y cewch wybod mai myfi ydyw yr hwn ydwyf." Yr oedd "Ydwyf yr hwn ydwyf" yn enw dirgel, tywyll, ar y Duw a ymddangosodd i Moesen yn y berth, ond y mae yn enw eglur iawn ar y Duw a ymddangosodd yn y cnawd. Nid oedd modd egluro'r enw hwn trwy eiriau yn unig, ond fe allwyd ei egluro trwy weithredoedd, sef trwy ddioddef a marw. "Mi a eglurais dy enw," eb efe, pan oedd efe ychydig cyn marw yn llefaru fel un wedi marw. Yn wir, nid "Ydwyf yr hwn ydwyf" a ddywedodd Duw wrth Moesen, a chyfieithu'r adnod yn fanwl, eithr Byddaf yr hwn a fyddaf—Byddaf yr hyn a fyddaf pan ymddangoswyf yn y cnawd. Ynghyflawnder yr amser, pan y danfonodd Duw ei Fab i'r byd, y gallodd efe ddywedyd Ydwyf yr hwn ydwyf. Yn y "dŷn a'r Duwdod ynddo'n trigo" y gallodd efe ddywedyd wrth ddynion, Wele fi: "Y neb a'm gwelodd

i a welodd y Tad," medd Crist; ac yNghrist y gwelwyd y Tad gyntaf yn ei fawr ragorol ogoniant. Efe a eglurodd enw'r Tad, ac a ddadguddiodd ei natur. Dangosodd efe'r Tad trwy ddangos ei hun, yn ei ddaioni ac yn ei gariad.

Ond wrth farw y carodd efe yr eiddo hyd y diwedd, sef hyd yr eithaf; ac wrth roddi ei Oen ei hun—ei anwyl a'i unig Oen, yn aberth dros bechod, y dangosodd Duw Dad holl ddyfnderoedd ei gariad yntau. Wrth farw y parodd yr Iesu i ddynion wybod pa fath un ydoedd efe ei hun, a pha fath un ydoedd ei Dad hefyd. Onid oes anfeidrol ogoniant mewn anfeidrol gariad? Ac onid yw prydferthwch gostyngeiddrwydd cyn hawddgared a phrydferthwch sancteiddrwydd? Onid yw ambell un yn haeddu clod am ddioddef; ac onid yw marw, weithiau, yn fwy anrhydeddus na byw? Y mae rhai poblach nad oes dim gwres gwladgarwch yn eu gwaed yn beio ar y Cymry gynt am amddiffyn eu hunain cyhyd yn erbyn teyrnas mor gref a Lloegr, ac yn beio yn fwy fyth ar ddyrnaid o bobl fel y Bwyriaid am eu hoferedd yn gwrthsefyll holl allu Prydain Fawr a'i threfedigaethau; ond pe na buasai Llewelyn ein Llyw olaf wedi marw dros ei wlad, ni buasai efe yn awr yn wron yngolwg ei genedl; a phe na buasai'r Bwyriaid wedi ymladd yn fwy pybyr am eu rhyddid a'u hannibyniaeth nag y gwnaeth un genedl arall er amser yr hên Roegiaid, ni buasent wedi ennill edmygedd y byd. Wrth farw dros eu gwlad, o'r bachgen pedair ar ddeg oed hyd yr henwr pedwar ugain, y maent wedi gwneyd eu henw yn anfarwol. Er na byddai yn weddus cyffelybu Iesu Grist i'r hên Gymry, na hyd yn oed i'r Bwyriaid, etto gellir dywedyd mai wrth farw yr anfarwolodd yntau ei enw.

Y mae'r Protestaniaid Rhyddion yn ein cyhuddo ni, y Blaid Efengylaidd o Brotestaniaid, o bwyso gormod ar farwolaeth Crist, ac yn dywedyd mai ei fywyd oedd yn

bwysig, ac nad oedd ei farwolaeth ond terfyn naturiol i'w fywyd. Pe dywedem, fel rhai o'r hên Buritaniaid, ddarfod iddo fyw yn unig er mwyn marw, diau y dywedem ormod, am y byddem wrth hynny yn dibrisio'i fywyd; ond nid ŷm yn dywedyd gormod wrth ddywedyd nad oedd yn ddigon iddo, er mwyn ein hachub, fyw ei fywyd, heb ei aberthu hefyd. Nid ŷm yn dibrisio'i fywyd wrth ddywedyd mai gorpheniad arno, ac nid terfyniad iddo, oedd ei farwolaeth. "Gwell yw diweddiad—gwell yw cyflawniad peth, na'i ddechreuad"; ac yn yr ystyr yma, yr oedd diwedd bywyd yr Iesu yn well na'i ddechreuad a'i ganol. Ei farw ef a roes ystyr ac amcan i'w fyw; ïe, ei farwolaeth a wnaeth ei fywyd yn fuddiol i ni bechaduriaid, am mai ei farwolaeth sy'n ein galluogi i ymdebygu iddo yn ei fywyd. Y mae yn fwy na thebygol na buasai raid i'r Iesu farw—na buasai raid iddo o'r hyn lleiaf ddim marw o farwolaeth boenus, pe daethai i fyd heb bechod ynddo; ond gan iddo ddyfod i fyd pechadurus, yr oedd yn rhaid iddo ef farw hefyd, er mwyn ei achub. O blegid hyn, y mae Crist, yn enwedig yn Efengyl Ioan, yn priodoli effeithiau mawr ei ymddangosiad i'w farwolaeth. Y mae yn gwneyd hynny ym mhob man lle y mae yn galw ei farwolaeth yn ddyrchafiad neu yn ogoneddiad; ac ni byddaf yn gwyro dim oddi wrth fy nhestyn wrth gyfeirio at ddwy neu dair o adnodau lle y mae yn gwneyd hynny; am fod yr adnodau hynny yn egluro yn fanylach pa fodd yr oeddid, wrth groeshoelio'r Iesu, yn ei ddyrchafu, a pha ham yr oedd yn haws i ddynion wybod pwy ydoedd, wrth edrych arno yn marw nag wrth edrych arno yn byw. Fel hyn yr ydys yn dywedyd mewn un man: "Daeth yr awr y gogonedder Mab y dŷn." Pa fodd tybed y gogoneddir ef trwy ei roddi i farwolaeth? Y mae'r Iesu yn atteb yn y ddwy adnod ddilynol, gan ddywedyd, "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, oni syrth y gronyn gwenith i'r ddaear a marw, hwnnw a erys yn unig;

eithr os bydd efe marw, efe a ddwg ffrwyth lawer. Yr hwn sy'n caru ei einioes a'i cyll hi, a'r hwn sy'n casàu ei einioes yn y byd hwn a'i ceidw hi i fywyd tragwyddol." Wrth farw, yr oedd Crist yn amlhau ei hun. Aeth yr un Crist yn Gristiau lawer, neu, os mynnwch, yn Gristion-ogion lawer. Byw ei hun, a byw erddo'i hun, y buasai efe wrth fyw heb farw; ond wrth farw, bu yn achos bywyd i eraill. Er hynny, wrth golli ei fywyd er mwyn eraill y cafodd yr Iesu ei fywyd ei hun. Wrth golli ei fywyd naturiol, ennillodd fywyd uwch; a'r bywyd hwnnw a ellir ei gyfrannu i eraill. Pan y bu'r Iesu farw y de-chreuodd efe fyw yn iawn, yn eraill, ac ynddo'i hun hefyd. Ac onid oedd hynny yn ogoneddiad arno?

At un adnod arall sy'n ogyfystyr â'r testyn y cyfeiriaf. —"A minnau os dyrchefir," neu yn gywirach, "a minnau pan ddyrchafer fi oddi ar y ddaear, a dynnaf bawb attaf fy hun." Y mae Paul yn sôn am waradwydd y groes ac am dramgwydd y groes; ond y mae yn well gan Ioan sôn am dyniad y groes. Y mae yn wir fod pregethu Crist wedi ei groeshoelio yn dramgwydd i'r Iddewon, ac yn ffolineb i'r Groegwyr; ond i'r rhai a alwyd, y mae'r cyf-ryw Grist yn allu Duw ac yn ddoethineb Duw. Ac i'r rhan fwyaf o wrandawyr nad ydynt wedi credu, y mae rhyw swyn rhyfedd yn yr ymadrodd am y groes. Pre-gethu Crist wedi ei groeshoelio sydd ym mhob man yn tynnu'r tyrfaoedd i'r odfaon cyffredin, ac i'r uchel ŵyl gyfarfod. Pan flino dynion ar wrandaw'r ymadrodd am y groes, y maent hefyd, gan mwyaf, yn blino ar wrandaw pob ymadrodd efengylaidd arall.

A llefaru yn rhydd, y mae'r Iesu yn marw ar y groes yn tynnu pob edrychwr atto'i hun ar ryw adegau neu gilydd, er fod llaweroedd yn llwyddo i wrthsefyll y tyniad. Er portreiadu Iesu Grist wedi ei groeshoelio o flaen llygaid rhai, etto, y mae rhyw bethau eraill yn eu llygad-dynnu, fel nad ufuddhaont i'r gwirionedd. Nid

yw y rhain yn cymmeryd hamdden i edrych yn ddyfal ar y portreiad; a rhaid edrych yn ddyfal arno, cyn y bydd y tyniad yn effeithiol. Y mae yn wir fod y darlun hwn yn taraw dŷn ar y golwg cyntaf; ond yr ail olwg, neu'r trydydd, neu'r degfed, sy'n ei orchfygu.

Ond gwybydder nad marwolaeth anianol yr Iesu: nad yr archollion a'r briwiau a'r gwaed, sy'n dylanwadu yn iachusol ar ddynion, eithr y cariad, yr ymwadiad, a'r ymroddiad, a ddangosodd yr Iesu yn ei farwolaeth. Y mae yn ammheus gennyf fi a ddarfu i ddarlun neu arddangosiad o'r croeshoeliad erîoed argyhoeddi neb. Pan oeddwn i yn ddiweddar yn myned trwy Bafaria, meddyliais unwaith droi i bentref Oberammergau i weled y pentrefwyr yn chwarau'r dioddefaint; ond meddyliais wedyn y gwnaethai gweled dŷn yn cymmeryd arno dristâu yn yr ardd, ac yn cogio marw ar y groes, fwy o niwed i mi nag o les. Cawswn weled y croesbren, yr hoelion, y cnawd a'r gwaed; ond pa ogoniant, ïe, pa ras a gwirionedd, sydd yn y pethau allanol hyny? Pe buasai'r efengylwyr wedi descrifio'r croeshoeliad mor fanwl, mor gyffrous ac mor glafaidd, ag y bydd mân bapurach Lloegr yn descrifio scelerderau dychmygol yn Pecin ac yn Iohannesburg, tarfu dynion chwaethus, ac nid tynnu atto, y buasai Iesu Grist. Yn wir, y mae Ioan, hyd y gallo efe, yn gochelyd y geiriau *croes* a *chroeshoelio* a *lladd*, er mwyn dwyn sylw dynion oddi wrth y pethau at y person. Nid gofyn a welsoch y groes y mae efe, eithr gofyn a wyddoch pwy a fu arni; gofyn a welsoch ei ogoniant ef yn ogoniant megis yr uniganedig oddi wrth y Tad; gofyn a welsoch chwi ddwylaw anwir yn ei ddyrchafu, megis er mwyn helpu Duw i'w ogoneddu. Nid ŵyf fi yn dywedyd na ddarostyngodd Crist ei hun wrth oddef i ddynion ei godi ar y groes. Dywedyd yr ydwyf ei fod yn ymddyrchafu wrth ymddarostwng; ei fod yn ogoneddus yn ei waradwydd, yn gryf yn ei wendid, yn anfeidrol hael yn eithaf

ei dlodi, a'i fod yn cael ei fywyd ei hun wrth ei golli. Ai sôn yr ydych am dywyllwch y tair awr? Oni welsoch ynghanol y tywyllwch hwnnw, oleuni dwyfol yn chwarau o amgylch pen yr hwn oedd yn marw? Fe'i gwelodd Williams o Bant-y-celyn:

"Ar Galfari rhwng dae'r a nef,
Llewyrchodd ei ogoniant ef;
Un haul ymguddiodd y prydnawn,
A'r llall a wnaed yn eglur iawn."

Os na welsoch goron gogoniant yn llewyrchu dan y goron ddrain, a'r orsedd yn sefyll ar ben grisiau'r groes, ni welsoch mo hanner y peth sy'n rhoi ystyr a swyn i farwolaeth Crist. Yn wir, os gwelsoch ei ogoniant ef o gwbl, yn ei farwolaeth y darfu i chwi weled mwyaf o hono. Pan oedd Haul y Cyfiawnder yn ymdaith ar draws yr wybren, gwelw oedd ei wedd, gan faint y niwl oedd ar y ddaear, ac ychydig o sylw a dynnodd atto'i hun, oddi gerth pan lewyrchodd unwaith ar Fynydd y Gweddnewidiad; ond pan oedd ar suddo i'r Môr Marw, teneuodd y niwl, ac ymddangosodd yntau yn globyn mawr coch, nes tynnu sylw pawb atto'i hun, a pheri i lawer lefain, O fachludiad gogoneddus! Pan oedd hwn yn myned i lawr yr aeth i fyny yngolwg dynion, ac yngolwg Duw hefyd. Onid hyn yw'ch profiad chwi y sy'n ddiscyblion iddo? A ydych mewn difrif yn synio yn is am Fab Duw, am ei fod yn Fab y dŷn hefyd? A fuasai Crist heb farw yn fwy gogoneddus ac yn fwy hawddgar gennych na Christ wedi marw? Anturiaf atteb drosoch mai ym Mab y dŷn y gwelsoch chwi Fab Duw; mai wrth edrych arno yn marw y gwelsoch fwyaf o'i. ogoniant ef; ac mai yn ei welwder ac yn ei waed y gwelsoch ef yn wyn a gwridog, yn rhagori ar ddêng mil. Onid fel hyn y byddwch yn canu:

"Does golwg harddach ddydd na nos
Na'r Iesu'n marw ar y groes."

Golwg ar Grist *yn* marw a barodd i'r canwriad lefain, "Yn wir, Mab Duw oedd y dŷn hwn." Bu hwn farw yn deilwng o Fab Duw. Trengodd yn ardderchog. Gadawodd y byd yn urddasol,—"Gan ogwyddo'i ben, efe a roddes i fyny yr yspryd."

Ond er fod yr Iesu yn marw yn dawel, y mae pawb a phoppeth o'i amgylch yn gyffrous. Y mae'r Ceidwad yn huno ynghanol storm. Onid yw'r wybren yn duo, y wahanlen yn ymrwygo, y ddaear yn crynnu, y beddau yn ymagor, a nef ac uffern yn ferw drwyddynt? Beth sy'n bod? Duw sy'n gogoneddu ei Fab trwy beri gwybod i ddynion pwy ydyw.—"Pan ddyrchafoch Fab y dŷn, yna y cewch wybod mai myfi yw efe."

Fy ngwrandawyr, gwyddoch chwi oll, a hynny o'ch mebyd, ddarfod dyrchafu'r Iesu unwaith ar Galfaria, ac yr ych yn dyfod ynghyd fel hyn Sul ar ôl Sul, er mwyn ei weled yn cael ei ddyrchafu yngweinidogaeth y gair, ac yn yr ordinhadau eraill. Yr ych yn hen gynnefin â darlun yr Iesu yn marw; canys fe'i portreiadwyd ef wedi ei groeshoelio, megis o flaen eich llygaid.—A ydych wedi'r cwbl yn gwybod pwy ydyw? A wyddoch chwi pwy ydyw trwy ei adnabod, ac a ydych yn ei adnabod trwy ei garu? Y mae yn anhawdd ichwi beidio, ac er hynny, y mae yn bosibl i chwi beidio. "Ni all neb ddywedyd yr Arglwydd Iesu," neu yn hytrach, "ni all neb ddywedyd mai'r Iesu ydyw'r Arglwydd oddi eithr trwy yr Ysbryd Glân." A beidiodd rhai o honoch â thristàu yr Yspryd sy'n dywedyd wrthych mai'r Iesu ydyw'ch Arglwydd, a'r Yspryd sy'n eich cymmell i fod yn weision ufudd iddo? Yn ddiau, fe'ch tynnodd yr Iesu chwithau atto'i hun rywbryd neu gilydd, pan oeddych yn edrych arno yn marw dros yr annuwiol. Tybed eich bod chwi o'r rhai sy'n tynnu yn ôl i golledigaeth yr enaid? Er cymmaint o swyn sydd yn yr Iesu, gall eich cyndynrwydd chwi orfod ar ei gariad ef; canys y mae'r tynnu

yn ôl yn gryfach weithiau na'r tynnu ym mlaen. Ond y mae rhyw dynnu anorfod yn ein haros—tynnu na thycia i neb dynnu yn ei erbyn. Oni thynnir ni at Grist o'n gwirfodd, fe'n tynnir atto ryw ddiwrnod er ein gwaethaf. Oni'n denir at ei groes, yna fe'n lluscir at ei faingc. "*Rhaid* i ni oll ymddangos—rhaid ein dangos ni oll ger bron brawdle Crist." Oni wybu rhai o honoch pwy ydyw wrth edrych arno yn marw, fe wybydd pawb pwy ydyw wrth edrych arno yn barnu. Y dydd hwnnw, plyga pob glin, a chyffesa pob tafod fod Crist yn Arglwydd, er gogoniant Duw Dad.

*Medi 20, 1900.*

## XI.

## CRIST YN EIRIOL HEB WEDDIO.

"*Y dydd hwnnw y gofynnwch yn fy enw; ac nid wyf yn dywedyd i chwi y gweddiaf fi ar y Tad drosoch; canys y Tad ei hun sydd yn eich caru chwi.*"—IOAN xvi. 26 a 27 (*a*).

Y MAE "y dydd hwnw" yn golygu dydd y Pentecost, a phob dydd arall ar ei ôl. O'r dydd hwnnw allan, ni ofynnwch ddim i mi, eithr i'm Tad yn fy enw i; canys bydd yr Yspryd Glân, yr hwn a leinw'ch calonnau y pryd hwnnw, yn eich dwyn i gymmundeb uniongyrchol â'r Tad ei hun; "ac nid ŵyf yn dywedyd i chwi y gweddïaf fi ar y Tad drosoch." Y mae'r geiriau hyn yn ymddangos yn anghysson â geiriau a lefarasai'r Iesu ychydig amser cyn hyn; canys yn y bedwaredd bennod ar ddeg, y mae efe yn dywedyd, "A mi a weddïaf ar y Tad, ac efe a rydd i chwi Ddiddanydd arall;" ond nid ydynt yn anghysson chwaith; canys pan y mae'r Iesu yn dywedyd "Mi a weddïaf," cyfeirio y mae at yr amser oedd o flaen dydd y Pentecost, ac wrth ddywedyd "Ni weddïaf," cyfeirio y mae at yr amser sydd ar ôl dydd y Pentecost.

Y mae yn gweddïo ar roddi o'r Tad yr Yspryd Glân i'w ddiscyblion, fel na byddai raid iddo ef mwyach weddïo drostynt yn y nef. Tra bo dynion dan ddylanwad yr Yspryd y mae'r Yspryd ei hun yn eiriol drostynt; ac y mae eiriolaeth yr Yspryd yn gwneyd eiriolaeth Crist hyd ryw fesur yn afreidiol. Eiriol dros droseddwyr, sef dros ddiscyblion a fyddo wedi cwympo, y mae Crist; ond eiriol dros y saint, sef dros ddiscyblion nad ydynt yn cwympo, y mae'r Yspryd. Y mae'r Yspryd yn eiriol

dros y saint, am eu bod yn saint; y mae'r Mab yn eiriol drostynt am eu bod yn bechaduriaid. "Fy mhlant bychain, ebr Ioan, y pethau hyn yr ŵyf yn eu scrifennu attoch, fel na phechoch; ac o phecha neb, y mae i ni Eiriolwr gyd â'r Tad, Iesu Grist y cyfiawn." Rhyw ail beth yn nhrefn yr iachawdwriaeth yw maddau: y peth pennaf ynddi yw cadw dynion rhag pechu, sef rhag gwneyd maddeuant yn beth angenrheidiol. Y mae maddau llawer o du Duw yn arwyddo pechu llawer o du dynion; a pha bryd bynnag y pechom, yr ŷm yn gwneuthur cam â Duw, ac â'n henaid ein hun. Ni all maddeuant Duw, mwy na maddeuant dynion, wneuthur y dŷn a bechodd cystal a'r dŷn ni phechodd. Maddeuodd Duw i Ddafydd ei bechod, ond nid oedd y maddeu ant hwnnw yn symmud ymaith holl ganlyniadau'r pechod. Bu raid i'r brenin ddioddef llawer yn ei yspryd ac yn ei amgylchiadau, a hynny hyd ddiwedd ei oes, am geisio cuddio'i odineb trwy lofruddiaeth; ac y mae yn ddiau ei fod etto, ac y bydd e byth, yn golledwr, o achos pechu yn erbyn Duw. Os torrwch eich braich, fe ellir ei chyfanu; ond ni bydd y fraich honno cyn gryfed a braich ddianaf. Anafwch eich enaid trwy bechod, fe all Duw ei iachàu; ond ni bydd yr enaid hwnnw byth yr hyn a fuasai pe heb ei anafu. A ddywed rhywun na bydd y dŷn a dreuliodd bump neu bymtheg o flynyddoedd yngwasanaeth y diafol ddim yn golledwr byth bythoedd? A all maddeuant Duw wneyd y blynyddoedd diffrwyth hynny yn flynyddoedd ffrwythlon? Na all ddim. Dealler nad ŵyf fi yn dywedyd fod y dŷn a wasanaethodd Grist dros amser byr yn waelach o anghenraid na'r dŷn a'i gwasanaethodd dros amser maith; canys nid ŵyf heb gofio fod ambell un trwy ddyfalwch, wedi gweithio mwy dros Grist mewn un flwyddyn nag a weithiodd un arall mewn oes gyfan. Dywedyd yr ydwyf y buasai'r hwn a redodd yn dda am flwyddyn, wedi rhedeg ym mhellach o lawer,

pe rhedasai yn dda ar hyd ei oes. Y mae dyn wrth bechu yn colli ei amser, heb sôn am golli ei gymmeriad; ac y mae colli amser yn golled anadferadwy. Yr ŵyf yn gwneyd y sylwadau hyn, am fod y rhan fwyaf o grefyddwyr Cymru yn dueddol i synio am drefn gras yn hytrach fel trefn i faddau nag fel trefn i berffeithio; ac y mae'r syniad cyfeiliornus hwn yn peri'n bod yn un o'r cenedloedd mwyaf crefyddol, ac ar yr un pryd yn un o'r cenedloedd mwyaf anfoesol a mwyaf Phariseaidd yn y byd; ac er hynny i gyd fe glywir ambell weddïwr, na bu erióed ym mhell o olwg mwg simnai ei dŷ ei hun, yn diolch i Dduw am nad ŷm ni fel dynion eraill. I rai sy'n gwybod rhywfaint am genedloedd eraill, y mae hynny yr un peth a diolch nad ŷm ddim mor eirwir a'r Saeson, ddim mor ddiwair a'r Gwyddelod, ddim mor onest a'r Ffrangcod, ddim mor foneddigaidd a'r Spaeniaid, nac mor sobr a'r Twrciaid. Nid am fod yn hoff gennyf feio ar fy nghenedl fy hun yr ydwyf yn llefaru fel hyn, eithr am fy mod yn ewyllysio'i chyffroi i ymadael â'i Phariseaeth annioddefol.

Yr ŷm ni, y Cymry, fel y dywedais o'r blaen, yn bur grefyddol yn ein ffordd. Yr ŷm bron i gyd yn medru'r pader, ac yn cael cryn hwyl wrth ddywedyd y ddau ddeisyfiad yma: "Dyro ini heddyw ein bara beunyddiol," a "maddau i ni ein dyledion;" ond ar ôl gweddio hyd yma, y mae'r hwyl yn darfod; a phrin y bydd gennym ddigon o anadl, neu ddigon o amser, i orphen y weddi, trwy ddywedyd y ddau ddeisyfiad olaf hyn: "Ac nac arwain ni i brofedigaeth; eithr gwared ni rhag drwg." Pe gofynnem yn ddyfalach i Dduw ein gwaredu rhag y drwg, a pheidio â'n harwain i amgylchiadau y byddai perygl ini bechu ynddynt, ni roddem gymmaint o waith i Dduw i faddau ini'n dyledion. Y mae efe, yn wir, yn Dduw parod i faddau; er hynny, y mae yn barottach i'n cadw rhag pechu nag yw i faddau ini ar ôl pechu;

ac os ŷm yn pechu yn rhwyddach o achos fod Duw yn faddeugar, yna ni fyn efe faddau ini o gwbl. I'r rhai sy'n syrthio i bechod wrth geisio gochel pechod y mae efe yn maddau. Pwy yw'r plant mwyaf cymmeradwy ar y ddaear? ai y rhai sy'n rhoi achos i'w rhieni faddau iddynt bob dydd, ai ynte y rhai sy'n ofni digio'u rhieni, ac yn ceisio rhyngu eu bodd ym mhob peth? "Na phechwch" yw gorchymmyn mawr Duw; ond o phecha neb, y mae i ni Eiriolwr ger bron y Tad. Er hynny, rhown cyn lleied o waith i'r Eiriolwr ac i'r Maddeuwr ag sy bosibl; canys y mae pob pechod yn peri rhywfaint o golled a niwed ini, er i Dduw ei faddau. Y dynion prinnaf eu beiau, ac amlaf eu rhinweddau, yw'r dynion dedwyddaf yn y byd hwn, a hwynt-hwy a fydd y dynion dedwyddaf yn y byd a ddaw hefyd. Os bydd y gwaredigion yn cofio'u camweddau ar y ddaear, y mae yn naturiol meddwl y bydd mwy neu lai o dduwiol dristwch yn dyfod arnynt yn y lle dedwydd hwnnw, ac y bydd aml Gymro, wrth gofio pechodau ei ieuengctid, yn canu yn gwynfannus wrtho'i hun, "O! na threuliaswn yn ddigoll o dan iau Crist fy mebyd oll." Ni bydd hynny, y mae yn wir, yn rhwystro na saint bach na saint mawr i ganu yn llawen ac yn ddiolchus i'r hwn a'u carodd ac a'u golchodd â'i waed ei hun.

"Y dydd hwnnw, nid ŵyf fi yn dywedyd y gweddïaf fi ar y Tad drosoch"; ond cyn dyfod y dydd hwnnw, fe ddarfu i Grist ofyn i'w Dad gadw'i ddiscyblion rhag y drwg, trwy roddi iddynt Ddiddanydd ac Eiriolwr arall. Yn awr, pan fo'r Yspryd Glân yn eiriol drosom, yr ŷm dan arweiniad yr Yspryd; a phan arweinir ni gan Yspryd Duw, ni byddwn ni yn pechu; a phan na bôm yn pechu, ni raid ini wrth eiriolaeth Crist yn y nef. Yn wir, y mae Ioan yn rhoi ar ddeall nad oes i ni Eiriolwr yn y nef pan na byddom yn pechu: "O phecha neb, y mae i ni Eiriolwr ger bron y Tad."

Y mae yn ddiau fod y testyn, o'i ddal ar gyfer yr adnodau eraill, yn awgrymmu mai dros y saint a fo yn llithro i bechod y mae'r Iesu yn eiriol, ac na raid iddo ef weddïo *drostynt*, pan y bo'i Yspryd yn gweddïo ynddynt a thrwyddynt; ond nid dyma'r gwirionedd yr ydys yn ei ddyscu yn arbennig yn y testyn; canys y mae'r geiriau "Nid ŵyf yn dywedyd y gweddïaf fi ar y Tad drosoch" yn rhoi ar ddeall nad yw'r Iesu yn addaw gweddïo dros ei ddiscyblion mewn unrhyw amgylchiad ar ôl y dydd hwnnw, sef dydd y Pentecost. Pa fodd, felly, y cydsaif y mynegiad sydd yn y testyn â'r gwirionedd diamheuol fod Iesu Grist yn Eiriolwr? Y mae'r ymadrodd sy'n dilyn yn ein galluogi i atteb y cwestiwn: "Canys y mae'r Tad ei hun yn eich caru chwi."—Nid ŵyf yn dywedyd y gweddïaf fi drosoch ar y Tad fel ar un sy'n ammharod i wrandaw arnaf. Ni bydd dim rhaid i mi grefu ar y Tad i roddi ichwi faddeuant nac un fendith arall, "canys y mae y Tad ei hun yn eich caru chwi." Symmud ymaith gamsyniadau am y Tad, a hynny trwy symmud camsyniadau am ei eiriolaeth ei hun, yw amcan yr Iesu yn y testyn; a hynny yw fy amcan innau wrth draethu ychydig arno. Ysywaeth, y mae syniad llaweroedd ym mhob oes am Grist fel Eiriolwr wedi bod yn hytrach yn rhwystr nag yn gymmorth iddynt i iawnsynio am Dduw Dad. Y mae'r camsyniadau hyn yn bod etto, er nad ŷnt mwyach mor wrthun eu lliw ag oeddynt pan oedd Pabyddiaeth a Phuritaniaeth yn eithaf eu grym. Hyd yn oed pan oeddwn i yn fachgen, nid peth anghyffredin fyddai clywed pregethwyr yn darlunio Duw Dad fel math o farnwr sarrug yn eistedd ar y faingc mewn llys barn, ac yn edrych yn ddigofus ar y pechadur crynnedig a oedd yn sefyll o'i flaen. Y Mab, yn y gwrthwyneb, yn fwyn ei wedd, ac yn wlyb ei ruddiau gan ddagrau, yn sefyll rhwng y ddau, gan ddangos y clwyfau ar ei gorff, er mwyn dylanwadu ar y barnwr i

arbed y troseddwr. Tafod fedrus y Mab o'r diwedd yn tycio, a chàlon y Tad yn toddi, a'r pechadur, ar ôl hir bryder, yn diangc megis â chroen ei ddannedd. Er fod addysc gyffredinol wedi dyscu pregethwyr, a gwrandawyr hefyd, i ddiflasu ar ddescrifiadau isel a matterol o'r fath yma, etto, y mae lle i ofni fod y syniad cyfeiliornus sy'n gorwedd dan y descrifiad yn aros o hyd ym meddyliau llawer o'r werin. Er na fynnent o'u gwirfodd ddwyn barn gablaidd yn erbyn eu Creawdr, etto, y maent yn dirgel gredu fod y Mab yn fwynach na'i Dad, ac mai'r hyn a wnaeth efe ar y ddaear, a'r hyn y mae yn ei wneuthur yn y nef sy'n cymmell ei Dad i garu ei greaduriaid. Yn awr, y mae'r testyn yn dywedyd yn bendant na raid i'r Iesu ddylanwadu ar Dduw, trwy arferu geiriau, na thywallt dagrau, na thrwy un ffordd arall, er mwyn ei gyffroi ef i garu dynion: "Nid ŵyf yn dywedyd y gweddïaf fi ar y Tad drosoch; canys y mae'r Tad ei hun yn eich caru chwi." Nid yr iawn a'r eiriolaeth sy'n magu cariad yn Nuw tuag attom; yn hytrach, ffrwyth cariad Duw ydyw'r iawn a'r eiriolaeth. Duw, o'i gariad ar y byd, a osododd Grist yn iawn. Duw, â'i ddeheulaw, a'i dyrchafodd ef i fod yn Eiriolwr. Y Tad a roddodd y Mab i ddynion; a dangosodd y Tad gymmaint o gariad wrth roddi ag a ddangosodd y Mab wrth ymroddi. Nid cael ei ennill i garu dynion gan ei Fab a wnaeth y Tad, eithr cael ei gynhyrfu i'w caru gan ei natur ei hun. Y mae cariad y Tad yn hên gariad—yn gariad tragwyddol, ac felly yn bod cyn yr ymgnawdoliad, cyn yr aberth, a chyn yr eiriolaeth. Yn wir, cariad y Tad a barodd i'r pethau hyn fod: "Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei uniganedig Fab." "Yn hyn yr eglurwyd cariad Duw tu ag attom ni; o blegid danfon o Dduw ei uniganedig Fab i'r byd." Egluro—dadguddio cariad y Tad yr oedd y Mab ym mhob peth a wnaeth efe drosom. I fod yn ddelw'r Duw

anweledig yr ymddangosodd efe yn y cnawd. I hyspysu'r Tad y daeth i'r byd. Pa fath un ydyw Duw? Un tebyg odiaeth i'r dŷn Crist Iesu. Pa fath un ydyw Iesu Grist? Y tebyccaf a welwyd erîoed i Dduw. Un *priod* Fab sy gan Dduw, ac y mae hwnnw yn wir lun ei berson ef. Ond y mae Duw, heb law bod yn Dad ein Harglwydd Iesu Grist, yn Dad i bob creadur âg yspryd ynddo; ac am hynny yr ydys yn ei alw ef yn Dad yr ysprydoedd. "Llwch ŵyf fi; o'r llwch y deuthum," ebr y bardd. Gwir; ond llychyn byw ydwyt; neu yn hytrach, glöyn byw, wedi ei fywioccàu âg anadl yr Hollalluog. Creadur i Dduw yw dŷn o ran ei gorff, ond y mae yn fab iddo o ran ei yspryd; ac y mae ei fod yn fab yn rhoi bri arno fel creadur. Fel hiliogaeth Adda, dynion ŷm ni; ond fel hiliogaeth Duw, yr ŷm yn dduwiáu: "Myfi a ddywedais, duwiau ydych chwi, a meibion y Goruchaf ydych chwi oll." Yr ŵyf fi, er fy mod yn bechadur, yn un o'r had brenhinol, yn un o'r eppil ddwyfol: Emrys fab Iwan, fab Adda, fab Duw.

Ystyriwn uchder ein bonedd, ac ymdeimlwn â'n hurddas, ac na alwn ein hunain mewn rhith-ostyngeiddrwydd, yn "llychod gwael y llawr." Hiliogaeth Duw ydym ni, wedi'n gwneuthur ar lun a delw Duw. Ac er ein bod wedi ymddifwyno yn y llaid, a rhwygo'n dillad yn y drain, etto y mae prydweddion ac agwedd meibion brenin arnom. Gall pob pechadur, yn wir, ddywedyd fel y mab afradlon, "Nid ŵyf mwy deilwng i'w *galw* yn fab i ti." Er hynny nid yw annheilyngdod y mab yn diddymmu'r berthynas rhyngddo a'i Dad; ac am hynny, yr oedd y mab afradlon, hyd yn oed wrth gyfaddef ei annheilyngdod ei hun, yn dywedyd "Fy nhad"; ïe, pan oedd efe yn y wlad bell, cyn cychwyn o hono tu ag adref, fe ddywedodd, "Pa sawl gwas cyflog o'r eiddo *fy nhad*"; "mi a godaf ac a af at *fy nhad*." Y mae mab afradlon yn parhau yn fab, er nad yw yn deilwng i'w alw

yn fab; ac y mae Duw yn parhau yn Dad iddo; ac y mae efe heb law hynny yn deilwng i'w *alw* yn Dad; canys y mae efe yn parhau i garu fel tad ac i ymddwyn fel tad: "Os ŷm ni heb gredu"; hynny ydyw, os ŷm ni yn anffyddlon, "y mae efe yn aros yn ffyddlon." Yn wir, pa gàlon a fyddai gennym ni, bechaduriaid, i ddychwelyd atto, pe na baem yn credu ei fod ef yn debyccach i dad nag ŷm ni i blant. Ac nid un tad ym mhlith llawer o dadau ydyw efe, eithr yr unig dad sy'n cyflawni'r enw tad; ac am hynny, yr ydys yn y testyn, ac mewn llawer adnod arall, yn ei alw "y Tad," sef y tad goruchaf, y tad arbennig, y tad priodol. Fel mai Crist yw'r priod Fab, felly Duw yw'r priod Dad; canys y mae efe yn Dad i'w greaduriaid mewn ystyr uwch ac agosach nag y gall neb arall fod yn dad iddynt. Efe yw'r tad cyntaf, a thad pawb: ac y mae efe yn gofalu yn well am ei deulu mawr nag y mae neb arall yn gofalu am ei deulu bach o dri neu bedwar. Pe na ddaethai Crist i'r byd i ddim amgen nag i ddyscu ini fod Duw yn Dad i bawb, buasai yn hawdd ini ddeall wrth hynny yn unig ei fod ef yn caru pawb; canys pa dad sydd a'r nad yw yn caru ei eppil? Yr oedd yn hyspys i broffwydi yr Hen Destament fod Duw yn Dad ei bobl Israel, a bron nad oedd yn hyspys i ddau neu dri o honynt ei fod yn Dad i bob dŷn cyfiawn ym mhlith y Cenhedloedd hefyd; ond yr Iesu a ddadguddiodd yn eglur fod Duw yn Dad i'r da ac i'r drwg, i'r cyfiawn ac i'r anghyfiawn hefyd, ym mhob gwlad lle y mae'r haul yn tywynnu a'r glaw yn discyn. Tadoliaeth Duw a brawdoliaeth dynion oedd dwy athrawiaeth fawr ei efengyl ef. Caru Duw a charu cymmydog oedd dwy ddyledswydd fawr ei gyfraith ef.

Ond er fod Duw, o achos ei fod yn Dad, yn caru pawb o'i hiliogaeth, etto, nid yw yn caru pawb â'r unrhyw gariad. Y mae cariad yn ei weithrediadau, o anghenraid, yn amrywio yn ôl natur ei wrthrychau; ac

am hynny, ni all Duw garu meibion nad ŷnt deilwng i'w galw yn feibion, fel y mae yn caru meibion teilwng; neu garu rhai annhebyg iddo'i hun fel rhai tebyg. "Er maint ein annheilyngdod, mae'i gariad e'n parhau," ond nid yw yn parhau i ymddangos yn yr un modd. A chariad o dosturi ac ewyllys da y mae Duw yn caru plant sy'n debyccach i'r diafol nag iddo ef ei hun; ond y mae yn caru'r plant sy'n gyfrannogion o'r ddwyfol anian â chariad o ymhyfrydiad a chymmeradwyaeth. Y mae yn caru pechaduriaid, *er* nad ŷnt hwy yn ei garu ef; y mae yn caru'r saint, am eu bod hwy yn ei garu ef yNghrist.—"Y mae'r Tad," eb yr Iesu, "yn eich caru chwi, *am* i chwi fy ngharu i." Bellach, gall y saint ddywedyd nid yn unig "Yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni," ond hefyd, "Y mae efe yn ein caru ni, am i ni ei garu ef trwy ei Fab." Y mae Duw bellach yn eu caru hwy â chariad newydd a chwanegol; o achos eu bod wedi eu dwyn i berthynas newydd âg ef; canys y maent yn eiddo iddo bellach nid yn unig trwy genedliad, eithr hefyd trwy ail genedliad: yn eiddo iddo nid yn unig wrth naturiaeth, eithr hefyd trwy ras. Ar air, y maent trwy fabwysiad yn feibion dyblyg iddo.

Yn awr, gan fod Duw yn Dad, y mae yn canlyn fod yn naturiol iddo garu, fod yn hawdd ganddo faddau, a'i fod yn barod i redeg i gyfarfod y mab mwyaf afradlon a dry ei wyneb atto. Pa ham, gan hynny, y rhaid ini wrth Eiriolwr ger bron y Tad? Ni raid ini wrth Eiriolwr i'w annog ef i deimlo ac i ymddwyn yn fwy tadol tu ag attom; canys y mae'r Tad ei hun yn ein caru ni, a hynny am ei fod yn Dad ini. Os credwn gymmaint a hyn yn gyntaf, yna ni bydd cymmaint o berygl ini synio yn rhy ddaearol am waith Crist drosom yn y nef. Os cofiwn beth nad yw eiriolaeth yr Iesu, bydd yn haws ini ddeall beth ydyw hi. Y mae eiriolaeth Crist yn fath o weddi, ond nid yw ei eiriolaeth o anghenraid yn cynnwys

gweddi. Yn wir, y mae'r syniad am undod y Tad a'r Mab o ran natur ac ewyllys, yn ein hattal rhag synio am un o'r personau dwyfol yn deisyfu ffafr gan berson dwyfod arall. Pa beth ynte yr ydys yn ei feddwl wrth ddywedyd mewn iaith ddynol fod yr Iesu yn eiriol? Yr ydys yn meddwl cymmaint a hyn o leiaf: sef fod yr Arglwydd Iesu yn ymddori cymmaint ynom yn awr yn y nef ag ydoedd gynt ar y ddaear, a'i fod yn gweithio drosom hyd yn hyn. Ac y mae'r ffaith ei fod yn gweithio drosom yn brawf fod y Tad hefyd yn gweithio drosom. Nid am fod y Tad yn Dduw pell y mae'r Mab yn eiriol drosom; yn hytrach, eiriol drosom y mae er mwyn dangos fod y Tad yn Dduw agos ac yn Dduw anwyl. Synio yn isel, ac nid yn uchel, am y Tad y mae rhai o'r Puritaniaid, wrth dybied ei fod yn rhy bell i fod yn anwyl; a synio yn isel, ac nid yn uchel, y mae'r Pabyddion am y Mab, wrth dybied ei fod yntau yn ei sefyllfa ddyrchafedig yn rhy bell i fod yn anwyl; canys y mae'r naill ddosparth yn tybied fod y fam yn fwyneiddiach na'i Mab, a'r dosparth arall yn tybied fod y Mab yn fwyneiddiach na'i Dad. Ond nid ydys yn anrhydeddu na'r Tad na'r Mab, wrth dybied eu bod yn haeddu mwy o barch nag o gariad. Gan bwy yr ydys i ddisgwyl pob rhodd ddaionus, oddi gerth gan y Tad?—"Y dydd hwnnw, ni ofynnwch ddim i mi, eithr i'r Tad yn fy enw i." Pan weddïom, gofyn a ddylem *gan* neu *i*'r Tad, *yn enw*'r Mab, ac *yn* yr Yspryd Glân. Y Tad yw gwrthrych gweddi; y Mab yw cyfrwng gweddi, a'r Yspryd yw elfen gweddi. Na cheisiwn ddyrchafu un person dwyfol ar draul darostwng un arall; canys y mae cariad y Tad, a chariad y Mab, a chariad yr Yspryd, yn ogyddragwyddol a gogyfuwch, ac y mae'r tri pherson fel eu gilydd yn cydweithio yn ein hiachawdwriaeth. Y mae'r Tad yn barod i roddi o hono'i hun, heb ei gymmell gan neb, bob peth a ofynnom ganddo; er hynny, gan ei fod

yn ewyllysio ini, wrth weddïo, anrhydeddu ei Fab, y mae efe yn gorchymmyn ini ofyn yn enw hwnnw; "fel yr anrhydeddai pawb y Tad yn y Mab." Cyn "y dydd hwnnw," byddai'r discyblion yn gofyn pob peth *i* Grist, heb ofyn dim yn ei enw; ond ar ôl y dydd hwnnw, y mae yn weddus ini ofyn pob peth *i*'r Tad *yn enw*'r Mab. Y mae Crist, trwy ddioddef a marw, wedi gwneuthur iddo'i hun *enw* y mae yn wiw i bechadur ei goffâu ger bron Duw. Y mae Duw, er ei fod yn caru pechaduriaid, yn caru ei Fab hefyd; a hynny yn fwy, am iddo, wrth ei orchymmyn ef, ddodi ei einioes i lawr *dros* bechaduriaid; a pha ddŷn bynnag a garo Grist, y mae Duw yn caru hwnnw â chariad newydd a rhagorol. Yr ŷm oll yn wrthrychau tosturi Duw Dad, o achos ein bod yn feibion afradlon; byddwn yn wrthrychau ei hoffder hefyd, trwy garu ei Fab a chredu ynddo.

*Medi* 25, 1897.

## XII.

## GWEDDI A GWAITH.

"*A'r bore yn blygeiniol iawn, wedi iddo godi, efe a aeth allan, ac a aeth i le anghyfannedd; ac yno y gweddiodd. A Simon, a'r rhai oedd gyd âg ef, a'i dilynasant ef. Ac wedi iddynt ei gael ef, hwy a ddywedasant wrtho, Y mae pawb yn dy geisio di. Ac efe a ddywedodd wrthynt, Awn i'r trefydd nesaf, fel y gallwyf bregethu yno hefyd; canys i hynny y deuthum allan.*"—MARC i. 35—38.

YR hwyr cyn y bore hwn, yr oedd yr Iesu wedi iachàu llawer o gleifion a bwrw allan lawer o gythreuliaid; ac er fod Mathew yn dywedyd ddarfod iddo wneuthur hynny â'i air, etto y mae ar yr un pryd yn rhoi ar ddeall na wnaeth e mo hynny yn ddiboen iddo'i hun; canys y mae yn dywedyd fod yr Iesu, wrth symmud ymaith wendidau a chlefydau rhai eraill, yn eu cymmeryd mewn rhyw fodd arno'i hun. Y mae Luc hefyd yn dywedyd fod nerth yn myned allan o'r Iesu pan y byddai yn iachau'r cleifion; a dywedodd yr Iesu ei hun pan gyffyrddodd rhyw wraig âg ymyl ei wisc ef, "Mi a wn fyned rhinwedd allan o honof." Wrth drosglwyddo'i nerth ei hun i eraill, yr oedd yn trosglwyddo'u gwendid hwythau arno'i hun, ac felly yn newid cyflwr â hwynt. Am hynny, y mae yn iawn ini farnu fod yr Iesu wedi diffygio gan flinder, ar ôl gwneuthur gwyrthiau yr hwyr o'r blaen yn Capernaum; a darfod iddo godi cyn dydd drannoeth, ac ymneillduo i le anghyfannedd, yn un peth, er mwyn cael hamdden i orphwys ac i adennill ei nerth. Ond

hyn yn bennaf oedd ei ddiben ef yn ymneillduo, sef er mwyn ymgryfhau trwy fyfyrdod a gweddi i wneuthur y gwaith newydd a oedd o'i flaen. Iddo ef, yr oedd gorphwysdra oddi wrth waith yn orphwysdra er mwyn gwaith.

Yn y testyn, cawn olwg ar yr Iesu yn y dirgel ac yn yr amlwg, a dangosir ini hefyd pa fodd yr oedd ei fywyd dirgel yn dylanwadu ar ei fywyd cyhoeddus.

Hanes gweinidogaeth gyhoeddus yr Iesu a gawn yn y pedair efengyl; ac yn ôl Ioan, ni pharhaodd y weinidogaeth honno yn hŵy na dwy flynedd a rhyw nifer o fisoedd; a phe na buasai gennym ddim ond y tair efengyl cyntaf i ddibynnu arnynt, gallesid meddwl mai blwyddyn yn unig oedd tymmor ei weinidogaeth; a hynny, yn wir, oedd barn y rhan fwyaf o hên Dadau yr Eglwys. Bid a fo, nid oes un esponiwr o'r radd flaenaf yn barnu y bu'r Iesu byw dair blynedd llawn ar ôl iddo ddechrau pregethu. Bu'r Gwaredwr farw, gan hynny, yn ddŷn ieuangc rhwng deuddeg a thair blwydd ar ddeg ar hugain oed; ac er byrred fu ei oes, treuliodd efe ddeng mlynedd ar hugain o honi mewn unigedd. Un cip-olwg a gawn arno rhwng ei enwaediad a'i fedydd. Er cymmaint a gynnyddodd e mewn gras a gwybodaeth, nid yw yn debygol iddo wneyd dim sôn am dano'i hun, oddi gerth unwaith, pan yn holi ac yn atteb y doctoriaid yn y deml. Yr oedd ei waith yn gadael ei grefft ac yn troi yn ddyscawdwr cyhoeddus, yn peri syndod i'w berthynasau ac i'w holl gydnabod: "A phan glybu yr eiddo ef (sef ei fam a'i frodyr), hwy a aethant i'w ddal ef; canys dywedasant, "Y mae efe allan o'i bwyll." Yr oedd y cyfnewidiad disymmwth a ddaeth arno, ar ôl clywed Ioan Fedyddiwr yn pregethu, yn beth nad oeddynt hwy yn ei ddirnad. Nid oeddynt hwy yn ystyried fod ei fywyd neillduedig ef yn hytrach yn ei gymhwyso nag yn ei anghymhwyso i wneyd gwaith cyhoeddus. Ac yr

oedd y gwaith a wnaeth efe yn y ddwy flynedd a hanner olaf o'i oes mor bwysig, fel nad oedd deng mlynedd ar hugain ddim yn ormod i ymbarottoi ar ei gyfer. Yn y dyddiau hyn, ac yn enwedig yn y wlad hon, y mae dynion yn brysio cymmaint i ymenwogi, fel y maent yn dechreu dyscu eraill cyn hanner gorphen dyscu eu hunain; yn gwascaru cyn casglu; ac yn myned yn awduron cyn medru scrifennu brawddeg yn gywir. Yr oedd gan yr Iesu ormod o barch i'r byd i ddechreu dyscu dynion cyn ei fyned ef ei hun yn ddŷn cyflawn. Yr oedd yn weddus iddo ef fod yn ddyscawdwr, yn unig am iddo fod cyhyd yn ddiscybl. Yr oedd yn weddus iddo fyned yn amlwg cyn diwedd ei oes, am iddo fod cyhyd yn guddiedig. Pa ham y mae cynnifer o wleidyddion, a fu gynt yn enwog iawn, wedi myned i ddinodedd mor fuan ar ôl eu marw? Am na buant foddlon i fod mewn dinodedd tra yn fyw. Enwogrwydd byr-hoedlog yr oeddynt hwy yn ei geisio, ac enwogrwydd byr-hoedlog a gawsant. Y mae yn debygol na bu yn Lloegr erioed wleidydd mor gymmeradwy gan y bobl ag oedd George Canning yn ei ddydd. Yr oedd cymmaint o dyrru ar ei ôl ef ag oedd o dyrru ar ôl Sullivan y paffiwr yn ein dyddiau ni, ac yr oeddid yn darllen ei areithiau â mwy o awch nag y darllenid areithiau Mr. Gladstone. Ond erbyn hyn, nid oes neb yn meddwl am eu darllen. Yn wir, Edmund Burke yw'r unig wleidydd yn y wlad hon y bu yn wiw gan ddynion ddarllen ei areithiau ym mhen ugain mlynedd ar ôl ei farw. I fyw yn hir, rhaid i ddŷn farw am yspaid tra yn fyw. I wneuthur gwaith a bery, rhaid i ddŷn dreulio rhan fawr o'i oes yn nhir neillduaeth. Os oedd yn angenrheidiol i Moesen dreulio dwy ran o dair o'i oes yn yr Aifft ac yn nhir Midian i ymgymhwyso i fod yn waredwr i Israel, yr oedd yn angenrheidiol i'r Iesu hefyd dreulio y rhan fwyaf o'i oes yntau i ymgymhwyso i fod yn

Waredwr i'r byd. Oes fer ydoedd oes yr Iesu; ac yr oedd ei fywyd cyhoeddus yn fyrrach fyth; er hynny, pwy a draetha ei oes ef? os oedd hi yn fer, yr oedd yn llydan iawn.

Yr ŷm oll, gobeithio, yn diolch i'r Iesu am yr hyn a ddywedodd ac a wnaeth yn Capernaum ac yNghaersalem, ond y mae arnaf ofn mai ychydig sy'n meddwl diolch iddo am fod cyhyd yn ddistaw ac yn llonydd yn Nazareth; ac etto i gyd, y mae efe yn haeddu cymmaint o glod am beidio â brysio i ymenwogi ag am beidio â brysio i ymgyfoethogi. Y mae'r dealltwriaeth anghyffredin a ddangosodd e pan yn ddeuddeg oed, yn profi y buasai yn hawdd iddo, pe mynnasai, wneyd enw iddo'i hun fel dyscawdwr yn dra ieuangc; "eithr efe a'i dibrisiodd ei hun"; fe'i darostyngodd ei hun, trwy ddarostwng pob tuedd a allai fod ynddo i ddyscu eraill cyn gorphen dyscu ei hun. Y mae ar bob pregethwr a ddechreuodd bregethu yn dra ieuangc, gywilydd o bregethau ei flynyddoedd cyntaf; ond ni phregethodd yr Iesu eriôed bregethau y bu raid iddo gywilyddio o'u plegid. Ffrwythau melynion ei ddyndod a roes efe i ni, ac nid ffrwythau gleision ei fachgendod. Pe buasai efe wedi myned yn ŵr cyhoeddus cyn bod am hir amser yn ddŷn cuddiedig, buasai wedi hysbyddu ei hun cyn diwedd ei oes; ac ni allasai draethu dammegion y byddai yn wiw gan bobl eu darllen ym mhen dwy fil ol flynyddoedd ar ôl ei farw. Wrth aberthu enwogrwydd dros amser, sicrhaodd efe enwogrwydd dros byth.

Ond y mae'r testyn yn dangos nad yn Nazareth yn unig y mynnodd yr Iesu ymgilio oddi wrth ddynion er mwyn ymnerthu yn Nuw. Bywyd dirgel oedd rhan fawr o'r hyn yr ydys yn ei alw yn fywyd cyhoeddus yr Arglwydd Iesu. Ni byddai efe byth yn ymgymmeryd â gwaith mawr, heb gilio yn gyntaf i ryw le anghyfannedd

i weddïo am nerth i gyflawni'r gwaith hwnnw. Myned i'r diffeithwch am ddeugain niwrnod oedd y peth cyntaf a wnaeth efe ar ôl ei fedyddio. Ac yr oedd myned i'r diffeithwch yn arfer ganddo; canys yr ydys yn dywedyd am dano ar ôl hyn: "*Yr oedd* efe mewn lleoedd anghyfannedd." "Ac yr *oedd* efe yn cilio o'r neilldu yn y diffeithwch ac yn gweddïo." "Efe a aeth," meddir, "yn ôl ei arfer i fynydd yr Olewydd"; ac am ardd Gethsemane, yr ydys yn dywedyd, "Mynych y cyrchasai efe yno." Nid ŵyf yn sicr na threuliodd yr Iesu, hyd yn oed ar ôl ei fedyddio, agos gymmaint o amser yn yr ardd, yn y mynydd, ac yn y diffeithwch ag a dreuliodd yn y dinasoedd. Yr oedd ei nos i orphwyso agos gymmaint a'i ddydd i weithio; hynny ydyw, yr oedd efe yn cymdeithasu cymmaint â Duw trwy weddïo ag â dynion trwy eu dyscu. Er fod yr Iesu yn ddŷn cymdeithasgar iawn: er fod yn hoff ganddo fwytta ac yfed, ïe, gyd â phechaduriaid; etto, am ei fod yn cymdeithasu cymmaint â Duw yr oedd yn ddiogel iddo gymdeithasu cymmaint â dynion. Er fod yn hyfryd ganddo rodio o amgylch gan wneuthur daioni, etto nid oedd yn ewyllysio i bawb gyhoeddi ei ddaioni, rhag i hynny ei rwystro yn ei waith. Yr oedd arno ofn myned yn bregethwr rhy boblogaidd, rhag i hynny beri niwed i'w gymmeriad ef ei hun. Er nad oedd Syr Isag Newton ddim yn credu fod Crist yn wir Dduw, etto, yr oedd efe yn fwy o Gristion nag odid neb o'r rhai sy'n ffrostio eu bod yn fwy iawngred nag ef; canys yr oedd yn gommedd cyhoeddi ei enw gyd â rhai o'i ddarganfyddiadau, rhag i hynny liosogi ei gyfeillion a'i gydnabod. Gwnaeth yr Iesu ei waith ar y ddaear mor ddidrwst a diymhongar ag yr oedd modd; ac wrth hyn, cyflawnodd efe'r broffwydoliaeth y sy'n dywedyd, "Ni waedda, ac ni ddyrchafa, ac ni phair glywed ei lef yn yr heol." Er ei fod yn fwy na phawb, etto nid oedd y rhan fwyaf yn ei

adnabod, hyd yn oed yngwlad fechan yr Iddewon: canys pan ddarfu i'r Galileaid a oedd gyd âg ef, ei arwain ar ebol asyn i'r ddinas, ychydig cyn diwedd ei ces, gofynnodd y trigolion a'r ymwelwyr yn synnedig, "Pwy yw hwn?" Yr ydoedd yn ddyscawdwr, y mae yn wir; ond yr oedd llawer o ddyscawdwyr eraill heb ei law ef yn rhodio o amgylch gyd â'i ddiscyblion. Yr ydoedd yn gwneuthur gwyrthiau lawer; ond yr oedd llawer eraill y pryd hwnnw yn gwneuthur gweithredoedd a elwid yn wyrthiau, fel nad oeddid ar y gorau yn cyfrif yr Iesu yn ddim amgen nag un Rabbi teithiol ym mhlith llawer o Rabbiniaid, neu un meddyg teithiol ym mhlith llawer o feddygon. "Y mae pawb yn dy geisio di," ebe'r discyblion; ond nid pawb yn y wlad yr ydys yn ei feddwl, na phawb yn ninas Capernaum chwaith, eithr pawb o ryw ddosparth neillduol. Gan mai i'r Iesu yr ydys yn rhoddi y lle mwyaf yn yr efengylau a'r epistolau, y mae yn hawdd i'r darllenydd cyffredin feddwl mai efe oedd y dŷn enwoccaf yn ei wlad, os nad yn ei oes hefyd. Gan nad oedd yn wiw gan yr efengylwyr sôn nemmor am Gamaliel a Theudas a Iŵdas y Galilead, na dim oll am Sammai a Hilel a Iesus fab Sirach, y mae yn hawdd, meddaf etto, i'r cyffredin feddwl fod yr Iesu yn Iddew enwoccach o lawer na'r Iddewon hynny; ond y gwir ydyw nad oedd enwogrwydd yr Iesu yn ei ddydd yn ddim wrth enwogrwydd y rheini. Nid wrth y lle a rodder i berson yn ei gofiant y gellir barnu am ei safle a'i enwogrwydd, eithr wrth y lle a rodder iddo yn hanes cyffredinol ei wlad. Yn awr, nid yw'r Iddewon a'r Paganiaid a scrifennodd hanes Palestina yn amser yr Iesu, yn sôn dim am yr Iesu ei hun, mwy na phe buasai ddim yn bod. Y mae yn wir fod y mynachod, neu ryw Gristionogion dibetrus eraill, wedi gwthio ychydig o ymadroddion sy'n crybwyll am yr Iesu i un o lyfrau Iosephus, ac i lyfrau dau hanesydd Rhufein-

ig hefyd; ond gwnaethant hynny mewn modd mor anfedrus a chwithig, fel na raid wrth ddau lygad i ganfod y twyll; am hynny, ni cheir mo'r ymadroddion hynny yn yr argraffiadau gorau. Gwelsoch hefyd ond odid yn "Nrych y Prif Oesoedd" lythyr yr ydys yn dywedyd i Agabus, brenin Edessa, ei scrifennu at yr Iesu, a llythyr atteb yr ydys yn dywedyd ddarfod i'r Iesu ei scrifennu at y brenin. Trwy gastiau o'r fath yma y ceisiai rhai o'r hên Gristionogion roi ar ddeall fod yr Iesu yn ddŷn adnabyddus a chymmeradwy. Ond y gwir ydyw mai mewn dau neu dri o barthau yr ydoedd yr Iesu yn adnabyddus, ac mai gan ryw ddosbarth neillduol yr ydoedd yn gymmeradwy. Er fod Iddewon o bob parth wedi ymgasclu i Gaersalem pan gondemniwyd yr Iesu i farwolaeth, etto, yr oedd ei bleidwyr mor ychydig fel na wnaethant un ymgais i gadw ei fywyd.

Ni raid ini gywilyddio dim o achos fod y dŷn mwyaf yn y byd wedi byw a marw heb i'r byd ei adnabod, ac o achos fod Iesu fab Sirach, Iesu Barabbas, a llawer Iesu arall, yn Iddewon enwoccach yn eu dydd na Iesu o Nazareth; canys y mae'r testyn, a llawer adnod arall, yn dangos nad i geisio gogoniant gan ddynion y daeth yr Arglwydd Iesu i'r byd, eithr i wneuthur daioni iddynt, trwy bregethu'r efengyl. Nid oedd yr Iesu ei hun yn *ewyllysio* myned yn bregethwr rhy boblogaidd; am hynny, pan y mae ei ddyscyblion yn dywedyd wrtho, "Y mae pawb yn dy geisio di," y mae yntau yn dywedyd wrthynt, Ciliwn ar frys oddi ar eu ffordd: "Awn i'r trefydd nesaf, fel y gallwyf bregethu yno hefyd." Y mae yn bwysiccach i mi fyned i gyhoeddi'r efengyl i'r rhai na chlywsant moni, nag aros yma i borthi chwant afiach y rhai sy wedi ei chlywed, ond sydd etto heb ei chredu. Difyrrwch yn unig a geiff dynion o glywed fy ngeiriau, os na fynnant eu gwneuthur hefyd.—"Awn i'r

trefydd nesaf:" y mae yn fwy gennyf fi argyhoeddi pump yn y trefi hynny na difyrru cant yn y dref hon.

"Nid ŵyf fi yn ceisio fy ngogoniant fy hun, eb yr Iesu, eithr gogoniant yr hwn a'm hanfonodd." Ni ogoneddesid yr Iesu etto gan ei Dad; am hynny nid oedd yn weddus iddo ef ogoneddu ei hun; ond er pan ogoneddwyd ef gan ei Dad, y mae yn weddus i'r Iesu geisio'i ogoniant ei hun, trwy ewyllysio cael gogoniant gan ddynion. Ar ôl ei fyned ef i'r nef y dechreuodd dynion ei ogoneddu; ar ôl ei ddyrchafu ar ddeheulaw ei Dad yr aeth yn fawr yngolwg y lliaws. Ei ddiscyblion, a hynny ym mhen hir amser ar ôl ei ymadawiad, a'i gwnaeth ef yn enwog; ac y mae'r ffaith ddarfod iddynt hwy allu ei wneyd yn enwog ar ôl ei farw yn profi ei fod ef yn fawr pan oedd yn fyw. Byth er hynny, y mae'r Iesu yn myned yn enwoccach o hyd; fel y mae'r broffwydoliaeth a oedd gynt heb ei chyflawni, yn cael ei chyflawni bellach yn amlwg iawn: "Wele fy ngwas a lwydda, efe a godir, a ddyrchefir, ac a fydd uchel iawn. . . . O lafur ei enaid y gwêl ac y diwellir." Er ei fod unwaith yn ddirmygedig ac yn ddiystyraf o'r gwŷr; yn un yr oedd dynion yn cuddio'u hwynebau oddi wrtho, ac heb wneyd cyfrif o hono, y mae bellach yn fwy ei barch a'i glod na neb o feibion dynion.

Er hyn ôll, ni wnaethai'r Iesu iddo'i hun enw tragwyddol, oni buasai iddo lafurio yn galed, a hynny â'i enaid, yn ystod tymmor byr ei weinidogaeth; ac y mae'r testyn yn dangos iddo allu llafurio felly er mwyn dynion, am ei fod yn gorphwys llawer gyd â Duw. Yr oedd ei waith ef yn yr amlwg yn ffrwyth ei weddïau yn y dirgel. Er nad oedd raid iddo ef weddïo am edifeirwch a maddeuant, etto, yr oedd yn rhaid iddo yn barhaus weddïo am nerth i gyflawni ei waith; canys yn nyddiau ei gnawd, ni allai efe wneuthur dim o hono'i hun. Yr oedd yntau, fel ei ddiscybl distadlaf, yn byw trwy y Tad

Yn wir, fe gawsai'r diafol yr oruchafiaeth, pe llwyddasai i demtio'r Iesu i fyw yn gwbl ar ei adnoddau cynhenid ei hun. Fel y mae'r saint yn byw trwy Grist, felly yr oedd yntau yn byw trwy y Tad. Yr oedd efe yn cilio o'r ddinas i'r diffeithwch, er mwyn derbyn nerth gan Dduw; ac yn dychwelyd o'r diffeithwch i'r ddinas, er mwyn cyfrannu'r nerth hwnnw i ddynion. Yr oedd yr Iesu yn byw dau fath o fywyd, sef bywyd mewn lle cyfannedd a bywyd mewn lle anghyfannedd; bywyd amlwg a bywyd dirgel; bywyd gweithgar a bywyd gweddigar. Yn hyn, y mae efe yn esampl nid yn unig i swyddogion eglwysig, megis pregethwyr, blaenoriaid ac athrawon, ond hefyd i'r holl saint. Gwn nad yw yn wiw gosod rheolau caethion i ddynion y mae eu doniau, eu tueddiadau, eu breintiau a'u hamgylchiadau mor wahanol i'w gilydd. Er engraifft, peth annoeth a fyddai dywedyd wrth rai llangciau a llangcesi y dylent dreulio hyn a hyn o oriau bob dydd i ddarllen a myfyrio; canys pa fodd y gwn i a'm tebyg pa nifer o oriau hamddenol sy gan y gweision hynny. Ofer fyddai imi ddywedyd wrth ambell ddŷn tlawd y dylai fyned unwaith neu chwaneg yn y dydd i'w stafell ddirgel, a chau y drws arno; o blegid fe ddichon fod ei dŷ mor fach, a'i deulu mor fawr, fel nad oes ganddo stafell ddirgel. Nid oedd gan Iesu Grist ei hun yr un stafell ddirgel, nac un stafell arall o'i eiddo'i hun; ac am hynny yr oedd yn treulio cymmaint o'i amser mewn lleoedd anghyfannedd; ac am nad oedd bob amser yn cael hamdden i weddïo yn y dydd, yr oedd yn colli ei gyscu i weddïo yn y nos. Er hynny, y mae ei esampl ef yn dangos y gall pawb o honom, os mynnwn, orfod ar lawer o anfanteision, a phrynnu'r amser mewn llawer ffordd. Ni ddichon i ni, ac ni ddisgwylir i ni, ei ddilyn ef yn holl fanylion ei fywyd; ond yr ydys yn disgwyl ini ei ddilyn ym mras bwythau ei fywyd; canys heb wneyd hynny, ni

allwn ei ddilyn yn amcan ei fywyd. Yr ydys yn disgwyl ini oll, hyd y mae ynom, fyw dau fywyd, fel y gwnâi yntau, sef bywyd gyd â dynion a bywyd gyd â Duw; bywyd o weithio a bywyd o weddïo; canys trwy gyfuno bywyd cyhoeddus â bywyd neillduedig y gallwn fyw y bywyd perffeithiaf: y bywyd buddiolaf i eraill a'r bywyd dedwyddaf i ni ein hunain.

Y mae'r Iesu yn dywedyd etto wrth ei holl ddiscyblion y ddau beth a ddywedodd wrth ei ddiscyblion cyntaf: "Awn i'r trefydd," hynny ydyw, awn i blith dynion, fel y gwnelom ryw les i eraill; ac hefyd, "Deuwch i le anghyfannedd, a gorphwyswch ennyd," fel y caffoch ryw les i chwi eich hunain, trwy gymdeithasu â Duw. Yr wyf yn meddwl fod llawn mwy o angen yn y dyddiau prysur hyn am yr ail gyngor nag am y cyngor blaenaf; a hynny yn fwy, am na ellir gwneyd y blaenaf yn dda heb wneyd yr ail; canys nid oes fawr o werth mewn bywyd ymdrechgar, os na bydd yn tarddu o fywyd myfyrgar. O'r ddau, yr oedd yn well gan yr Iesu fywyd myfyrgar Mair na bywyd ymdrechgar Martha. Ond cyfuniad o fywyd Mair a bywyd Martha; cyfuniad o fywyd y diffeithwch a bywyd y ddinas, sy'n fywyd cyflawn, ac yn fywyd cymmeradwy gan Dduw. Y mae trigolion y dref yn gyflymmach ac yn ddiscleiriach eu meddwl na thrigolion y wlad; ond y mae trigolion y wlad yn gryfach eu meddwl na thrigolion y dref. Y maent hefyd yn fwy neillduol—yn fwy gwreiddiol, fel y byddys yn dywedyd. Y mae'r dŷn sy'n byw llawer ar ei ben ei hun o ran lle, yn ddŷn ar ei ben ei hun o ran cymmeriad hefyd; tra y mae'r dŷn sy'n byw yn wastadol ym mysc ei gyd-ddynion, yn myned yn annhebyg iddo'i hun, ac yn myned yn ddŷn tebyg i bawb. Y mae'r John Jones hwn yn peidio â bod yr hyn ydoedd, a'r hyn y bwriadwyd iddo fod, ac yn myned yn fath o greadur cyfansawdd, wedi ei wneyd i fyny gan mwyaf o

bob John Jones arall. Yn awr, y mae yn bwysig ini gadw ein neillduolion ein hunain, er mwyn bod yn saint gwych; canys os peidiwn â bod yr hyn ydym: os collwn ein personoliaeth, ni allwn roddi'n hunain yn gyfangwbl i'r Arglwydd. "Wele, y mae efe yn dy alw di"—tydi dy hun; tydi ar dy ben dy hun ac ar dy wadnau dy hun; tydi i gyd, heb ddim o honot yngholl, ac nid rhywun sy'n dippyn o honot ti ac yn dippyn o bob dŷn arall. A fynnet ti fod yn debyccach i ti dy hun nag i ddynion eraill? Os mynnet, dos yn fynych i le anghyfannedd, a gorphwys yno ennyd gyd â Duw. Yno ni cholli ddim un o'th nodau, heb law y nodau a wnaeth pechod arnat. Wrth gymdeithasu â Duw, ei yn debyg i Dduw; ac wrth fyned yn debyg i Dduw, ei yn debyccach nag erióed i ti dy hun. Ynghymdeithas dynion yn unig y mae perygl ini golli'n cymmeriad priodol; ynghymdeithas Duw, yr ŷm yn ei gadw. Y mae'r Creawdr yn parchu'r pethau sy'n gwahaniaethu'r naill ddŷn oddi wrth y llall, am ei fod yn caru amrywiaeth; y mae'r byd yn y gwrthwyneb yn ceisio'u dilèu, am ei fod ef yn caru unffurfiaeth. Er mwyn cadw dynion rhag myned yn rhy debyg i'w gilydd y neillduodd—y dosparthodd Duw feibion Adda yn llwythau, yn ieithoedd, yn bobloedd ac yn genedloedd; ac y mae'r Beibl yn awgrymmu y bydd i bob dosparthiad a ordeiniodd Duw i beri amrywiaeth ar y ddaear, barhau dros byth yn y nef hefyd; canys nef annyddorol iawn a fyddai'r nef na byddai ynddi wahanol genedloedd a gwahanol ieithoedd. Y mae rhai dynion go fas eu meddwl yn haeru mai mantais i'r byd a fyddai i bawb fod yn un bobl, yn siarad yr un iaith; ond nid oes cymmaint ag un athronydd yn cydfarnu â hwynt yn hynny o beth; canys y mae pob meddyliwr dwfn yn barnu fod rhywbethau pwysiccach yn bod na chyfleusdra masnachwyr uniaith. Y mae yn wir fod y Spaeniad yn bobl goethach a mwy urddasol

na'r Iangcïod, a bod eu hiaith hwy yn dlysach o lawer na'r Saesneg, ac yn haws ei dyscu na'r Gymraeg; ond nid yw hynny yn profi y dylai'r Iangcïod a'r Saeson a'r Cymry ymgolli yn y Spaeniaid, ac ymwrthod â'u hieithoedd eu hunain, er mwyn dyscu Spaeneg. Trwy gadw a dadblygu ei neillduolion ei hun, ac nid trwy ymnewid yn annaturiol, y gall pob cenedl gwblhau'r gwaith a roddwyd iddi i'w wneuthur ar y ddaear. Y mae'r Prif Alluoedd yn y dyddiau hyn, wrth geisio dilèu mân genedloedd a mân ieithoedd oddi ar y ddaear, yn ymddwyn yn debyccach i fwystfilod rheibus nag i Gristionogion. Y mae Cristionogaeth yn caru undeb, ond y mae hi yn casàu unffurfiaeth, am fod unffurfiaeth yn gwneyd y ddaear yn rhy annhebyg i'r nef. "Y mae pawb o'r brodyr yno yn un"; ond nid ŷnt oll yr un fath. Y mae Duw wedi gallu eu perffeithio heb eu gwneyd yn rhy debyg i'w gilydd.

Yn awr, pa fodd y gallwn gymdeithasu â dynion heb fyned yn rhy debyg iddynt? Trwy gymdeithasu llawer â Duw. Pa fodd y gallwn wneuthur lles i eraill heb gaffael niwed ein hunain? Pa fodd y gallwn ymweled â'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd, a'n cadw ein hunain yn ddifrycheulyd ar yr un pryd? Pa fodd y gallwn fod yn y byd heb fod o'r byd? Ar air, pa fodd y gallwn fyned i'r trefydd heb i'r trefydd ein gwaethygu? Trwy fyned iddynt ar ein hunion o awyr bur y diffeithwch; trwy fyned yno â'r efengyl yn ein genau ac yn ein càlon; trwy fyned yno i wneuthur lles i'r rhai sydd heb wybodaeth ac heb iechyd ynddynt. "Awn i'r trefydd"; ond cyn myned i'r trefydd, gwrandawn ar Grist yn dywedyd wrthym, "Deuwch i le anghyfannedd o'r neilldu, a gorphwyswch ennyd." A ydym wedi gorphwyso digon? Os felly, awn i'r trefydd; ïe, awn i'r trefydd nesaf, allan o'n tref ein hunain; awn nid yn unig at y rhai sy'n ein ceisio, ond hefyd at y rhai nad

ŷnt yn ein ceisio. Gan ddarfod dwyn yr efengyl i'r byd, y mae gan bawb bellach, ym mhell ac yn agos, ryw fath o hawl i'w chlywed hi, pa un bynnag a dderbyniont hi ai peidio.

Swm y cwbl a glybuwyd yw, fod unigedd a chymdeithas yn angenrheidiol i Gristion, ac mai trwy fyw wrtho'i hun a byw gyd â dynion y gall efe dderbyn mwyaf o les iddo'i hun, a gwneuthur mwyaf o les i eraill, a dwyn mwyaf o ogoniant i Dduw. Er hynny, gwybydder y gall aml un fyw llawer ar ei ben ei hun heb ymddiddan â'i galon ei hun trwy fyfyrdod, ac heb ymddiddan â Duw trwy weddi ; ac y gall llawer un ymdroi ym mhlith dynion, yn unig er mwyn elw neu ddifyrwch, heb dderbyn na gwneuthur dim lles ysprydol. Gwybydder hefyd mai'r hyn ydyw dŷn o ran ei yspryd, yn hytrach na'r fan lle y mae o ran ei gorff, sy'n ei wneyd yn ddŷn unig ; canys y mae llawer un yn gallu byw bywyd mwy unig ynghanol Llundain nag y mae un arall yn ei fyw ar ben mynydd Berwyn. Y mae llawer masnachwr, o ran ei yspryd, yn byw mewn lle anghyfannedd, a llawer meudwy, o ran ei yspryd, yn byw yn y dref. O'r tu arall, gall llawer un ddylanwadu yn ddaionus ar gymdeithas heb ymdroi llawer mewn cymdeithas. Yn wir, gwnaeth Ieuan Bunyan les i fwy o ddynion trwy y llyfr a scrifennodd e yngharchar, a'r llyfrau eraill a scrifennodd yn ei dŷ, nag a wnaeth wrth bregethu yn yr heolydd. Na feied neb gan hynny ar ei amgylchiadau, tra bo'i gàlon yn ei law ef ei hun. "Lle bo gwyllys y mae gallu," medd y ddihareb ; a gallai'r Arglwydd Iesu ddywedyd wrth bob un o'i ddiscyblion, fel y dywedodd y gwahanglwyfus wrtho yntau, "Os mynni, ti elli." Yr ŵyf yn addef fod gan rai fwy o ddawn i weddïo nag i weithio, a bod gan eraill fwy o ddawn i weithio nag i weddïo ; er hynny, yr ŵyf yn dywedyd fod gan bob Cristion rywfaint o ddawn i weddïo ac i weithio ; ac er chwannocced ŷm

oll i hela escusion, ni faidd neb ddywedyd fod yn ddigon iddo weddïo heb weithio, neu fod yn ddigon iddo weithio heb weddïo; canys er mwyn gweithio yr ydys yn gweddïo. Ni faidd neb chwaith ddywedyd nad oes ganddo ddim amser i weddïo nac i weithio; canys y mae hynny yr un peth a dywedyd nad oes ganddo ddim amser i ofalu am ei enaid ei hun, nac am enaid neb arall; ïe, yr un peth a dywedyd fod Duw wedi ei osod ef mewn amgylchiadau sy'n ei rwystro i ogoneddu Duw. Od oes neb mewn galwedigaeth sy'n ei attal rhag gweddïo ar Dduw a gweithio dros Dduw, yna y mae dyled ar hwnnw i roi heibio'i alwedigaeth, ac i ddewis galwedigaeth arall y gall fod yn feistr arni, ac nid yn was iddi. Y mae dirwestwyr yn gofyn y cyfryw aberth gan dafarnwyr; ac y mae yn deg i dafarnwyr ofyn aberth cyffelyb gan lawer o ddirwestwyr. Y mae galwedigaeth dda ynddi ei hun, fel galwedigaeth ddrwg, yn anghyfreithlon yngolwg Duw, os bydd hi yn rhwystro dŷn i wneuthur ei ddyledswyddau. Nid oes eisiau adnodau i brofi hyn o beth; canys y mae cydwybod pob dŷn yn dwyn tystiolaeth iddo.

A ydwyf yn gofyn i chwi fyw bywyd anhyfryd wrth ofyn i chwi orphwys gyd â Duw, er mwyn gweithio gyd â dynion? Nac ŵyf, yn wir. Gofyn yr ŵyf yn hytrach ar i chwi fyw y bywyd hyfryttaf a ellir ei fyw ar y ddaear. Gofyn yr ŵyf ar i chwi fyw fel boneddigion, trwy fyw mewn dau dŷ, sef un yn y wlad, ac un arall yn y dref. Gofyn yr ŵyf ar i chwi ddilyn arfer hên bendefigion Cymru, trwy fynnu hendref mewn lle cyfannedd, a hafod mewn lle anghyfannedd. Nid yw'r lle anghyfannedd yn lle mor unig ag y tybia rhai ei fod. Fe dybiodd yr Iesu ei hun unwaith, pan oedd yn lled isel ei yspryd, a than gyscod tywyll y groes, mai lle gwag erchyll ydoedd y diffeithwch; ac am hynny y dywedodd efe wrth ei ddiscyblion, "Y mae'r awr yn dyfod pryd y gadewch fi yn unig"; ond y mae yn dyfod atto'i hun yn

ebrwydd, ac yn dywedyd, "Nid ŵyf yn unig, o blegid y mae'r Tad gyd â myfi." Blant Duw, ni byddwch yn gwbl unig yn y diffeithwch; o blegid y mae'ch Tad yno; ac y mae un annedd yn y lle anghyfannedd, sef ty eich Tad; ac uwch ben drws y ty hwnnw, y mae'r scrifen hon: "Mi a'i dygaf i'r anialwch, ac a ddywedaf wrth fodd ei chàlon."

Y mae Crist—y mae'ch brawd yn yr anialwch; a phan welo efe ryw gredadyn ofnus yn cyrchu tua'r fan, y mae yn gorchymmyn i'w angylion ddwyn allan y manna cuddiedig a'r gloew win, gan ddywedyd, "Mi a swpperaf gyd âg ef, ac yntau gyd â minnau."—Y mae yn yr anialwch wledda.

Y mae'r Diddanydd arall hefyd yn yr anialwch; ac yn ei gymdeithas hyfryd ef, fe welwyd rhai cyn hyn yn chwerthin ac yn llammu gan lawenydd.—Y mae yn yr anialwch gynghanedd a dawnsio.

Y mae'r tŷ yn rhagorol, a'i berchennogion yn rhagorach nag yntau; ac ni raid i neb gwyno yn erbyn yr amgylchoedd chwaith; canys os nad oes yno feusydd na gerddi, y mae yno borfeydd gwelltog, a dyfroedd tawel; y mae ynddo ddigon o flodau gwylltion i foddhau'r llygad, a digon o adar cân i foddhau'r glust; y mae'r awel yn iachus a'r wybren yn glir. Os nad oes yno le gwych i fyw, y mae yno le digyffelyb i orphwys am ennyd.—"Deuwch i le anghyfannedd o'r neilldu, a gorphwyswch encyd." Pan fyddom wedi gorphwyso, fe ddywed yr Iesu beth arall wrthym. "Codwch, awn oddi yma": awn i'r trefydd; canys mewn lleoedd cyfannedd y mae'r deillion a'r cloffion a'r cleifion. I ddyscu y rhain, a'u hachub tan un, y daeth Crist i'r byd; a neges fawr yr Athraw a ddylai fod neges fawr ei ddiscyblion hefyd.

*Rhagfyr* 3, 1898.

## XIII.

## HELA HEB DDALA.

"*Yn dyscu bob amser, ac heb allu dyfod un amser i wybodaeth y gwirionedd.*"—2 TIM. iii. 7.

AM wrageddos llwythog o bechodau, a arweinid gan eu chwantau eu hunain, a chan athrawon neu ymwelwyr rhith-grefyddol yr ydys yn dywedyd hyn. Oddi gerth y Spaeneg a'r Italeg, nid oes un iaith ag ynddi gynnifer o eiriau bychanol a'r Cymraeg. Ond er fod "gwrageddos" yn air da, nid efe yw'r gorau yn y fan hon; am mai gwragedd bach neu wragedd anwyl yw ystyr priodol y gair "gwrageddos." Ond y mae'r gair cyssefin, meddir, yn arwyddo gwragedd gwael, neu fenywod penwan; am hynny, gwrageddach neu fenywottach a fuasai'r gair Cymraeg gorau; am fod ystyr a sŵn mwy dirmygol i'r terfyniad *ach* nag sydd i'r terfyniad *os*. Gan nad beth am hynny, y mae yn sicr fod gwrageddach neu fenywottach yn enw digon da ar y gwragedd yr ydys yn eu descrifio yma; o blegid yr ydys yn dangos eu bod ar unwaith yn bechadurus, yn benchwiban ac yn anwybodus. Y mae yn rhyfedd, ac nid yn rhyfedd chwaith, mai'r benywod hawsaf eu hudo i bechod yw y rhai hawsaf eu hudo i dderbyn crefydd newydd, neu ryw ffurf newydd ar grefydd. Eu chwantau sy'n eu harwain i ymhel â chrefydd fel â phechod. Ond y mae'r dynion sy'n hudo'r gwragedd hyn cynddrwg a hwythau, ac mor dwylledig hefyd yn y pen draw; canys wrth dwyllo eraill, y maent yn twyllo'u hunain hefyd. Am danynt hwy, yn bennaf, yr ydys yn dywedyd eu bod yn ariangar, yn ffrostwyr, yn feilchion, yn gablwyr, yn anufudd-

ion i rieni, yn anniolchgar, yn annuwiol, yn angharedig, yn torri cyfammod, yn enllibaidd, yn anghymmedrol, yn anfwyn, yn ddiserch i'r rhai da, yn fradwyr, yn waedwyllt, yn chwyddedig, yn caru melus-chwant yn fwy nag yn caru Duw. Y fath gymmeriad annynol sydd i'r dynion hyn! Yn wir, gellid meddwl eu bod wedi myned mor gythreulig fel ag i fod yn rhy annynol i allu bod yn euog o *bechodau* cnawdol, megis glythineb, meddwdod ac anlladrwydd; ac er hyn i gyd, y mae ganddynt rith duwioldeb. Er eu bod yn annuwiol—yn fwy annuwiol nag y dichon i baganiaid fod; etto, y mae ganddynt enw a llais a gwisc Cristionogion. Ai angredyddion, tybed, a fydd yn llenwi'r ddaear yn yr amseroedd enbyd? Nage, eithr crefyddwyr: crefyddwyr gwresog hyd at fod yn benboeth; rhai llawn o yspryd cennadol, dyfal i ymweled âg esceuluswyr moddion gras; rhai yn proffesu yr adwaenant Dduw, eithr ar weithredoedd yn ei wadu; rhai a chanddynt rith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi. A ydyw yn anawdd gennych gredu y malia rhai mor ddrwg am ymddangos yn grefyddol? Beth! oni welsoch yn eich dyddiau'ch hunain, bregethwyr a blaenoriaid ariangar? Oni welsoch ffrostwyr a beilchion a rhai gwaedwyllt a chwyddedig ac anfwyn ym mhlith discyblion yr hwn oedd addfwyn a gostyngedig o gàlon? Oni chlywsoch ddynion â'u serch arnynt eu hunain yn gweddïo? A glywsoch chwi sôn rywbryd ddarfod i'r Methodistiaid yn rhywle ddiscyblu dŷn cyfoethog am ei fod yn angharedig, neu ddŷn tlawd am ei fod yn anniolchgar? ac, er hynny, yr ydys yn enwi angharedigrwydd ac anniolchgarwch ym mhlith y pechodau mawr. Ysywaeth, ni raid aros hyd yr amseroedd enbyd i gael enghreifftiau lawer o'r crefyddwyr pechadurus hyn. Y maent yn yr eglwys o'r dechreuad, ac yn lle'u gochel, fel y gorchmynnwyd i Timotheus wneyd, yr ydys yn gallu ymddygymmod â hwynt yn weddol wych, ac â'u pech-

odau hefyd. O, ni bydd dynion gwaethaf yr amseroedd enbyd y sydd ar ddyfod ddim gwaeth na chrefyddwyr gwaethaf yr amseroedd hyn; ond yn unig y bydd chwaneg o honynt; ac nid ŵyf fi yn meddwl y bydd dynion gorau'r mil blynyddoedd fawr well na dynion gorau'r oes hon; ond y byddant y pryd hwnnw yn lliosoccach. Y mae gwawr y mil blynyddoedd yn llwydoleuo'r blynyddoedd hyn; ac y mae'r amseroedd enbyd yn taflu eu cyscod dros yr amseroedd hyn. Am fod yr amser y sydd yn cynnwys eginyn yr amser a fydd y mae'r gwirionedd y sydd yn y testyn yn wirionedd cyfaddas i ni yn y dyddiau hyn; neu, ac arfer ymadrodd Pedr, yn "wirionedd presennol." Pa beth sy wirach am lawer o aelodau'r Yscol Sul, ïe, o aelodau'r eglwys hefyd, na'u bod yn dyscu bob amser, ac heb allu dyfod un amser i wybodaeth y gwirionedd.

Pa wirionedd? Y gwirionedd cyffredinol y sy'n cyfuno pob gwirionedd neillduol; neu, yn hytrach, y gwirionedd hwnnw fel y mae yn yr Iesu: y gwirionedd yn y lliw a'r llun a roes efe iddo; y gwirionedd efengylaidd y sy'n cadw o'i wybod; yr *un* gwirionedd y sy'n dri, a'r tri y sy'n un, sef y gwirionedd am Dduw, am ddŷn, ac am berthynas y ddau â'u gilydd; a pha beth yw hynny amgen na'r gwirionedd am Grist; o blegid y mae efe yn Dduw ac yn ddŷn, ac yn Gyfryngor hefyd rhwng Duw a dynion. Yn wir, Mab Duw yw hwn; a pha fab cyn debycced i'w dad? Wele'r dŷn, os bu dŷn erióed. A welwch chwi'r dwyfol ddŷn a'r dynol Dduw hwn ynghrog ar bren? Efe, ïe, efe yw'r yscol rhwng nefoedd a daear. "Ond y Sanct, meddwch, yw hwn yma; pa le y gwelir y pechadur ynddo ef?" Os nad yw yn bechadur, bu ynghyflwr pechadur, a dioddefodd gosp pechadur. Bu unwaith cyn debycced i bechadur ag y gallai Duw ei hun ei wneuthur, trwy ddarfod ei wneuthur yn bechod drosom ni. Yn niscleirdeb ei wynepryd ef fe wel y

pechadur nid yn unig ddelw'r Duw anweledig, ond hefyd ei gyscod hagr ei hun; nes peri iddo lefain fel Tomas, "Fy Arglwydd a'm Duw," ac â'r un anadl fel Pedr hefyd, "Dŷn pechadurus ŵyf fi, ô Arglwydd."

Gellir dywedyd yn wir mai geiriau Crist yw'r gwirionedd, y rhai sy'n cynnwys dadguddiad o wir sylwedd pethau; ond nid y geiriau ar wahân i'r Gair tragwyddol. Y mae'r gwirionedd yn athrawiaeth; ond y mae yn berson hefyd; ac am fod y gwirionedd wedi ymgorffoli mewn person y mae yn yspryd ac yn fywyd. Y mae'r gwirionedd yNghrist yn wirionedd byw; y mae'r un gwirionedd ynom ni yn wirionedd sy'n bywhau. "Myfi," medd yr Iesu, nid fy ngwaith na'm dysceidiaeth yn unig—"myfi fy hun yw'r ffordd, y gwirionedd a'r bywyd." Ac eb efe wrth yr Iddewon: "Yr ydych yn chwilio'r scrythyrau; canys ynddynt hwy yr ydych chwi yn meddwl cael bywyd tragwyddol. Ond ni fynnwch ddyfod ataf fi fel y caffoch fywyd; er mai am danaf fi y mae holl scrythyrau yr Hên Destament yn tystiolaethu." Yr ydoedd yr Iddewon, chwarau teg iddynt, yn darllen y scrythyrau yn ddyfal, ac yn eu chwilio hefyd: hyn oedd eu bai hwy, sef meddwl cael bywyd mewn llyfr ac nid mewn person; a hyn, ysywaeth, yw'r bai y mae llawer o Brotestaniaid darllengar y dyddiau hyn yn fwyaf tueddol iddo. Yr un ffunud, yn y Bibl ac nid yNghrist y maent yn ceisio'r gwirionedd. Dyscu'r llyfr y maent ac nid dyscu Crist. Ys gwir y dylem chwilio'r scrythyrau er mwyn gweled yr Iesu; ond yn yr Iesu ei hun y gwelwn y gwirionedd yn ei ffynnon ac yn ei loewder. Yn ei oleuni ef y gwelwn ni oleuni ysprydol, fel mai yngoleuni'r haul mawr melyn y gallwn weled goleuni naturiol; yr hwn, ar wahân i'r haul, sydd heb na lliw na llun. "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd." Cnawdolodd Duw y gair; ac yr ŷm ninnau yn ei ddignawdoli. Parodd efe i haul y cyfiawnder

gyfodi i ni; ac yr ŷm ninnau yn derbyn ei oleuni ac yn gwrthod ei wres.

Pa beth yw'ch barn am arfaeth Duw ac etholedigaeth; am barhad mewn gras ac athrawiaethau eraill? Gofyniadau pwysig, a go fuddiol hefyd; ond dyma ofyniad pwysiccach a buddiolach o lawer: Beth a debygwch chwi am Grist? Y mae Crist a Christionogion yn eiriau Scrythyrol; eithr gair diwinyddol yw Cristionogaeth; ac am y rheswm hwnnw, ac am resymmau eraill hefyd, y mae yn briodol ini roi i chwi ac i mi fy hun y cyngor hwn. Peidiwn a gosod Cristionogaeth yn lle Crist. Sylwedd a sylfaen holl ddysceidiaeth yr Iesu, beth ydynt? yr Iesu ei hun; am hynny ni ddywedodd efe, Dangosaf y ffordd, dyscaf y gwirionedd, cyfrannaf y bywyd, eithr yn hytrach, "Myfi ydyw'r ffordd, y gwirionedd, a'r bywyd."

Yn awr, os Crist yw'r gwirionedd, pa beth yw gwybodaeth y gwirionedd? Adnabyddiaeth o Grist. Pa beth y mae adnabod Crist yn ei gynnwys? Caru Crist: "Yr hwn nid yw yn caru, nid adnabu Dduw." Pa beth y mae caru yn ei gynnwys? Cadw'r gorchmynion, neu wneuthur ewyllys Duw. "Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys ef, efe a gaiff wybod y ddysceidiaeth." Pa fodd y gall dŷn ddyfod i'r adnabyddiaeth honno o'r Iesu y sy'n gynnwysedig mewn caru a gwneuthur? Trwy fod gyd âg ef. Ni wn i am un ffordd well na hon. 'A ydwyf gyhyd o amser gyd â chwi, ac nid adnabuost fi Philip?" eb yr Iesu. Ychydig gyd â dwy flynedd y buasai yr Iesu gyd â Philip; ac er hynny, yr oedd yn syn ganddo fod y discybl hwn etto heb ei adnabod. Y mae yn wir fod yr Iesu y pryd hwnnw, yn y corff gyd â'i ddiscyblion; ond nid oedd y fantais honno yn gydbwys â'r manteision eraill sy gennym ni. Nid oedd corff yr Iesu ond arwyddlun o'i bresennoldeb; ac arwyddlun digon ammherffaith hefyd, tra yr oedd e ar y ddaear. Gyd â ni y mae'r Iesu a fu farw, ac sy'n awr yn fyw.

Iesu byw heb weled marwolaeth; Iesu heb gyflawni'r holl broffwydoliaethau; Iesu heb orphen ei waith; Iesu heb garu'r eiddo hyd y diwedd, oedd yr Iesu a oedd yn edliw i Philip ei fod heb ei adnabod. Wfft i Philip am nad adnabu mo'r Iesu cyn gweled ar ei gorff ôl y drain a'r ffrewyll a'r gorsen a'r waewffon a'r hoelion; ond naw wfft i'r Galatiaid, ac i'w cyttras y Cymry, am eu bod heb ei adnabod wrth ddarlun cyflawn o hono, yn ei glwyfau ac yn ei waed. Os oedd yr Iesu yn synnu wrth Philip, y mae Paul yn myned yn ddrwg ei hwyl wrth y Galatiaid: "O y Galatiaid ynfyd, pwy a'ch llygad-dynnodd chwi fel nad ufuddhaech i'r gwirionedd, i ba rai o flaen eu llygaid y portreiadwyd Iesu Grist wedi ei groeshoelio yn eich plith?" Trwy eiriau y portreiadwyd Iesu Grist i'r Galatiaid, fel i ninnau. Dyma i chwi yn yr efengylau bedwar portreiad o hono, wedi eu llunio a'u lliwio gan feistriaid y gynnulleidfa; ac onid yw'r pedwar portreiad ynghyd yn gwneyd un darlun byw? Braidd na thybygai dŷn ei fod yn ymwthio allan oddi ar y gynfas. Yn y portreiad accw, cewch olwg ar ei gefn gan Mathew, Rubens yr efengylwyr; ac wrth weled cadernid y cefn hwnnw, fe syniwch mai da y gwnaeth yr efengylwr yn dewis yr adnod hon yn destyn ei efengyl: "Efe a gymmerth ein gwendid ni, ac a ddug ein clefydau." Yn y portreiad yna fe welwch ei ochr dde—ochr y llaw gref a'r bys awdurdodol, gan Marc, Rembrandt yr efengylwyr. Yn y portreiad yma fe welwch ei ochr aswy—ochr y gàlon, gan Luc, Correggio'r efengylwyr; ac yn y portreiad hwn fe welwch ei du blaen, gan Ioan, Raphael yr efengylwyr. Onid yw dull y pedwerydd portreiad yn debyg i Fab Duw? Yn ddiau, santeiddrwydd Duw sy'n gwynnu'r talcen hwn; cariad dwyfol sy'n cochi'r gruddiau hyn. Ie; ond y mae'r darlun yn ymnewid wrth edrych arno, a'r naill liw yn ymsymmud i le'r lliw arall. Y mae'r talcen gwyn yn awr yn gwaedu, a'r gwefusau

cochion yn gwelwi gan ddygn boenau angau. Y mae'r llygaid treiddiol, ar ôl bwrw trem faddeugar ar bechadur, yn ymbylu yn llewyrch tanbaid byd arall. O, y mae'r olygfa yn erchyll! Ydyw; ond y mae'r Person yn hardd o hyd. Ni bu efe eriôed cyn hardded a phan oedd yn marw. Ni bu eriôed mor dlws i Dduw —eriôed mor hawddgar gan ei Dad a phan oedd yn rhoddi ei einioes dros y defaid. "Am hyn," eb efe, "y mae'r Tad yn fy ngharu i, am fy mod yn dodi fy einioes, fel y cymmerwyf hi drachefn." A ydyw e yn hawddgar yn eich golwg chwi; ac os ydyw, pa ham na's carech? Pa ham na buasech wedi ei garu er ys talm cyn hyn? Y mae efe gyd â rhai o honoch, bellach, er ys dêng mlynedd, ac ugain, a hanner cant. A ydych yn disgwyl y bydd e ym mhen pum mlynedd etto yn fwy lluniaidd ei berson; yn wynnach a gwridoccach ei wedd nag ydyw yn awr? Nid am na bu'r Iesu ddigon o hyd gyd â chwi yr ych heb ei adnabod; eithr am na buoch chwi nemmor o amser gyd âg ef. Y mae efe wedi llefaru wrthych lawer gwaith a llawer modd eriôed; er hynny, nid attebasoch iddo air. Y mae efe gyd â chwi yn yr hanes a geir am dano yn yr efengylau. Byddwch chwithau gyd âg ef, trwy ddarllen yr hanes hwnnw—trwy adgofio'i fywyd, ei ddysceidiaeth a'i farwolaeth. Nesewch atto mewn gweddi; canys y mae'r gweddïwr yn gymmydog agos i'r Iesu. Trwy ddarllen fe ddangoswch fod yn hoff gennych wybod beth sy ganddo ef i'w ddywedyd wrthych chwi; ond trwy weddïo fe ddangoswch fod gennych chwithau rywbeth i'w ddywedyd wrtho ef. Byddwch gyd âg ef yn anad dim trwy ei ddilyn: ei ddilyn yn ei farwolaeth trwy farw eich hunain i bechod; ei ddilyn yn ei adgyfodiad trwy rodio mewn newydd-deb buchedd, a'i ddilyn yn ei escyniad trwy roddi'ch serch ar y pethau sydd uchod. Y mae yn well gan dad, ond odid, weled ei blentyn yn ei ddynwared

na'i glywed yn gwaeddi arno; ac, o'r ddau, y mae yn well gan yr Iesu Gristion o ddynwaredwr na Christion o weddïwr; am fod y dynwaredwr yn fwy o edmygwr ac yn fwy o wneuthurwr na'r gweddïwr. *Laborare est orare:* "Goreu gweddi, gwaith," medd dihareb Ladinig. Wrth efelychu; hynny ydyw, wrth ufuddhau (canys y mae efelychu ac ufuddhau yr un peth), yr ydys yn edrych ar Iesu nid yn unig oddi allan, ond hefyd oddi mewn; yr ydys yn byw ynddo, ac yn aros ynddo.

Trwy fyfyrdod a gweddi ac ufudd-dod y gallodd Ioan a'r discyblion eraill adnabod yr Iesu ar ôl ei adgyfodiad. Y mae yn wir eu bod hwy yn gallu dywedyd hefyd, "Yr hyn a glywsom, yr hyn a welsom â'n llygaid, ac a deimlodd ein dwylaw am Air y bywyd." Ond hyd yn oed yn wyneb yr adnod hon, y mae Ioan yn rhoi mwy o bwys ar yr hyn a oedd anweledig yNghrist nag ar yr hyn a oedd weledig ynddo—yr *hyn* y mae yn ei ddywedyd, ac nid yr *hwn*. Clywed a gweled a theimlo'r Iesu yn hytrach fel yr oedd yn Air y bywyd a wnaeth yr apostolion, ac nid fel un âg iddo gorff gweladwy a theimladwy. Pa un bynnag, y mae Ioan yn tystiolaethu yn yr adnod ddilynol fod cymdeithas yr apostolion â'r Iesu yn fwy gwirioneddol ar ôl iddo escyn i'r nef na phan oedd ar y ddaear. "Ein cymdeithas ni yn wir," eb efe, "sy gyd â'r Tad, a chyd â'i Fab ef, Iesu Grist." Y mae'r dŷn Crist Iesu wedi myned ymaith; er hynny y mae'r gymdeithas yn parhau.

Yn awr, am nad oedd y gwrageddos hyn ddim yn adnabod yr Iesu, yr oeddynt heb wybod y gwirionedd; ac am nad oeddynt, tu ag at ei adnabod, ddim yn cymdeithasu âg ef trwy fyfyrdod a gweddi ac ufudd-dod, yr oeddynt heb allu dyfod i wybodaeth y gwirionedd. Gwrageddos llwythog o bechodau, a arweinid gan eu chwantau, oeddynt. Yr oeddynt yn rhy anianol i wybod yn ysprydol. Y rhai pur o gàlon a wêl Dduw, a'r rhai pur o

gàlon a wêl y gwirionedd hefyd. Wrandawr anufudd, "cadw dy gàlon yn dra diesceulus," canys â'r gàlon y credir i gyfiawnder. Cofia y bydd arnat ei heisiau etto i gredu, os ŵyt yn meddwl credu. Cadw dy gàlon yn dra diesceulus, meddaf etto; canys â'r gàlon yr ydys yn caru: "Yr hwn nid yw yn caru, nid adnabu." Y mae llawer yn ceisio gwybod y gwirionedd â'u deall yn unig; a dyma y rhai y mae'r testyn yn dywedyd eu bod yn dyscu bob amser, ac heb allu dyfod un amser i wybodaeth y gwirionedd. Y mae gwybodaeth, fel y gwyddoch, yn amrywio yn ôl ei gwrthrychau. A'r llygaid yr ydys yn gwybod pethau'r golwg; â'r clustiau bethau'r clyw; â'r gàlon bethau'r gàlon, ac â'r deall bethau'r deall. Am hynny, synio am bethau, ac nid eu teimlo, yr ydys â'r deall. Y mae gwybod, yn ystyr efengylaidd y gair, yn dynodi rhywbeth mwy na gweithrediad y meddwl. Yn ôl hwn, nid canfod ac amgyffred y gwirionedd yr ydym, eithr yn hytrach ei deimlo yn ein càlon. Rhan o'r gwirionedd a ganfyddir â rhan o'r enaid. Yr holl ddŷn a ddichon ganfod yr holl wirionedd; a'r hyn ydyw'r gàlon, hynny yw'r dŷn i gyd oll. O'r ddau, gwell yw dawn na dysc; ac os y pen yw mangre dysc, y gàlon yw ffynnon dawn ac awen. "Cadw dy gàlon yn dra diesceulus; canys allan o honi y mae bywyd yn dyfod." Pob gwirionedd byw a ganfydder, â'r gàlon y'i canfyddir; pob gwirionedd byw a draether, o'r gàlon y mae yn dyfod. Na ddiystyrwch y Cristion duwiolfrydig na ŵyr nemmor ddim heb law ei Fibl: y mae wedi amgeleddu ei yspryd yn well na'r anffyddwyr dyscediccaf; ac y mae, trwy ddarllen Llyfr y llyfrau, wedi amgeleddu ei enaid hefyd yn well na'r rhai sy'n gwastraffu eu hamser i ddarllen rhyw sothach anghelfydd, pa un bynnag a fyddo ai sothach serth ai sothach crefyddol. Wrth fath ac nid wrth faint gwybodaeth y dylid barnu cynnydd dŷn. Fel y mae'r yspryd yn rhagori ar yr enaid, a'r enaid yn

rhagori ar y corff, felly y mae gwirionedd ysprydol yn rhagori ar wirionedd dealltwriaethol, a gwirionedd dealltwriaethol yn rhagori ar wirionedd anianol. Y mae llawer a'r sydd heb wybod dim am wyddoniaeth yn ddoethach na'r gwyddon. Y mae'r serofydd yn eu diystyru hwynt; ond y maent hwy yn edrych yn uwch na'i sêr ef. Y mae'r daearofydd yr un ffunud yn eu diystyru; ond y maent hwy yn edrych yn is na chrombil y ddaear. Y maent yn treiddio i waelodion eu hyspryd eu hunain, ac yn gweled yno anghenion a dymuniadau na ŵyr y dŷn anianol ddim oddi wrthynt. Ond o ran hynny, onid yw'r symlaf o'r saint hefyd yn wyddon ac yn athronydd yn ei ffordd? Os yw dawn naturiol yn galluogi dŷn i ddeongli arwyddion aneglur mewn natur: i ddarganfod pethau rhyfedd ac ofnadwy wrth ysmiciad y fellten, wrth amnaid y rhaeadr, ac wrth awgrym y gwynt; i ganfod ynghwymp afal y ddeddf sy'n rheoli'r planedau, ac i ddarllen mewn cloddfeydd hanes y byd a'i drigolion, onid yw dawn ysprydol yr un ffunud yn galluogi dŷn i ganfod yr anfeidrol yn y meidrol, yr anweledig yn y gweledig, y dyfodol diderfyn o fewn hedyn y presennol, a thynged ei enaid ei hun ynghynneddfau ac anghenion yr enaid hwnnw? Sefyll ar riniog teml gwirionedd y mae'r hwn sy'n ymdroi gyd â nerthoedd natur, heb ddyfod atto'i hun, at Dduw, Barnwr pawb, ac at Iesu Cyfryngwr y Testament Newydd.

Y mae athronyddion yr Almaen, o herwydd eu hawydd canmoladwy i wybod pob peth, yn gwneyd ymdrechiadau gorchestol i ddyfod i wybodaeth y gwirionedd ysprydol; ond y maent yn ymhoffi cymmaint mewn chwilio ac mewn athronyddu ar ddeddfau a chynneddfau'r meddwl y sydd *yn* chwilio, fel y maent yn anghofio pa beth yr aethant allan i chwilio am dano. Y maent yn dyscu bob amser, ac heb allu dyfod un amser i wybod-

aeth y gwirionedd. Y mae athronyddion y wlad hon, os ŷnt yn deilwng o'r enw, yn rhy ddioglyd i chwilio yn ddwys am ddim na ellir mo'i weled a'i deimlo, ei fwytta a'i wisco; felly, prin y gellir dywedyd eu bod hwy yn dyscu, chweithach yn dyfod i wybodaeth y gwirionedd. Agnosticiaid—Anwybodyddion y maent yn eu galw'u hunain; a chwarau teg iddynt, y maent yn bobl pur ostyngedig, ac ystyried eu bod yn anwybodus. Gofynnwch iddynt a oes Duw neu yspryd neu angel, attebant hwythau, "Fe ddichon fod; ond y mae yn debygol nad oes; o leiaf, ni tharawsom ni eriôed wrth un o honynt." A oes nefoedd ac uffern? "Ni fynnem ni dyngu nad oes; ond hyn sydd wir: buom ar ben y Mynydd Gwyn, yr uchaf o'r Alpau, ar foregwaith o'r cliriaf ym mis Medi; ac er fod gennym, ac arferu geiriau'r Bardd Cwsc, yspïadur 'i helpu'n golwg egwan i weled y pell yn agos a phethau bychain yn fawr,' ni welsom un nef. Bryd arall, discynnasom i'r pwll glo dyfnaf yn Neheubarth Cymru; ond ni welsom un uffern; na chythreuliaid chwaith—neb ond glowyr gwynebddu." A fydd adgyfodiad a barn? "Ni wyddom ni, ac ni'n dawr chwaith. 'Bwyttawn ac yfwn; canys yfory, marw yr ydym.' Dyma'r unig wirionedd sicr, sef y byddwn farw yn ebrwydd; a dyma'r unig wirionedd buddiol, sef fod gennym gegau i'w llenwi ac aelodau i'w dilladu."

Y mae yn amlwg fod pob dosparth yn y wlad hon yn myned yn fwyfwy matterol eu syniadau. Fel yr aed gynt i amgeleddu'r enaid yn lle'r yspryd, felly yr ydys yn awr yn myned i amgeleddu'r corff yn lle'r enaid; canys y mae eisoes lawn mwy o ymarfer corfforol y tu allan i athrofeydd Lloegr nag sydd o ymarfer meddyliol o'u mewn; a hyd yn oed o'u mewn, fe roir cyn hir fwy o le i'r gwybodau a'r celfau cyffredin nag i'r gwybodau a'r celfau cain. Pan beidio Cristionogaeth â bod yn ysprydol, y mae hi yn brysio i fyned yn Gristionogaeth ewyn-

nol. Y mae yn wir na bu addysc gyffredin erioed mor uchel ei bri ac mor gyffredinol ag ydyw yn y dyddiau hyn; ond addysc gyffredin ydyw—addysc a fwriadwyd i gyfoethogi'r deyrnas trwy gyfoethogi cynnifer ag a ellir o'r bobl. Nid oes ar y lliaws ddim eisiau eu coethi; eisiau ymgyfoethogi ac ymenwogi sydd arnynt. Nid ŷnt yn ewyllysio bod yn berffaith; bod yn gyssurus yw eu pwngc mawr hwy. Pa ham y mae cynnifer o rieni yn ddiofal am roi addysc gyffredinol i'w plant? Am eu bod yn ddifatter am eu henaid hwynt. Pa ham y mae llawer mwy o honynt yn ddiofal am roi addysc grefyddol i'w plant? Am eu bod yn ddiofal am eu hyspryd hwynt, ac am fod gwybodaeth y gwirionedd yn beth dibwys yn eu golwg. Y mae yn debygol fod y rhieni hyn yn caru digon arnynt eu hunain ac ar eu plant i obeithio yr ânt hwy a'u plant i'r nef ar ôl marw; ond ni wn i ddim pa beth a wnânt yno. Os ânt i'r nef, bydd y lle yn boethach iddynt na phurdan.

Gyfeillion ieuaingc pymtheg oed ac isod, pa mor esceulus bynnag a fo'ch rhieni, nac oedwch chwi ddyscu'ch hunain. Y mae gennych dasc fawr i'w gorphen cyn yr eloch i'r nef—gwybod y gwirionedd. Pa le yr ych arni yn awr? Ymrowch atti yn lew; canys ni wyddoch ym mha flwyddyn nac ym mha fis y bydd dydd yr arholiad. Y mae'r Iesu yn drugarog iawn, am ei fod yn Frawd; ond y mae yn gyfiawn hefyd, am ei fod yn Farnwr. Cofiwch fod yn rhaid iddo ef gadw'i enw da fel beirniad; am hynny, ni faidd efe scrifennu, "Da, was da a ffyddlon," Da, fy machgen, neu Da, fy ngeneth, dan attebion gwael. Ac heb law hynny, rhaid iddo gadw i fynny enw da'r tŷ y mae yn byw ynddo; am hynny, ni fyn efe lenwi'r lle gorau a'r sy ganddo â phob math o blant. Er hyn i gyd, ni wêl neb a ymroes i ddyscu mo'r holiadau yn rhy galed.

Gyfeillion sy'n hynach, yr ych chwi a minnau yn yr yscol er ys talm o amser bellach— pa beth a wyddom? canys gwybod a ddylai fod diben y dyscu. Pa faint a wyddom o'r iawn beth? canys gwybod y gwirionedd yw'r wybodaeth sy'n cadw ac yn perffeithio dŷn. Dylem oll fod yn athrawon o ran amser; er hynny, y mae ar rai c honom drachefn eisiau dyscu ini egwyddorion dechreu-ad ymadroddion Duw. A pha beth, attolwg, ydyw egwyddorion athrawiaeth Crist? Y llythyrennau cyntaf. —A: adgyfodiad y meirw. B: barn dragwyddol ac athrawiaeth bedyddiadau. E: edifeirwch oddi wrth weithredoedd meirwon. Ff: ffydd tuag at Dduw. Peth-au i'w dodi heibio ar frys yw'r pethau hyn, er mwyn gallu o honom fyned rhagom i sillafu ac i ddarllen ym-adroddion Duw. Ond, ysywaeth, yn yr A, B y mae llawer o honom yn aros hyd yn hyn; ac heb lwyr ddyscu yr A, B chwaith. A gefais i wir edifeirwch? A oes gen-nyf ffydd gadwedigol? A wn i i bwy y credais? A gaf fi ran yn adgyfodiad y rhai cyfiawn? A ddiangaf fi byth gan fy Marnwr? Gofyniadau pwysig; ond hyd yn oed pe gallem eu hatteb, gwybod y llythrennau yn unig y byddem, os heb wybod llawer chwaneg. O, y mae'r gwirionedd yn dra eang; ac yn lle myned iddo ac iddo, sefyllian yr ydym ar ei finion.

Yr ydym yn dyscu rhywfaint er ein gwaethaf. Hyd yn oed pe delai rhai o honoch i ddosparthau'r yscol ysprydol yn llai mynych nag yr ydych yn dyfod, dyscai profiad cyffredin rywfaint ini am y byd, am fywyd, ac am danom ein hunain. Y mae pawb yn dyfod i wybodaeth mesur o'r gwirionedd am y tri pheth hyn; ac yn y drefn yr enwyd y pethau y maent yn dyfod i wybodaeth o honynt. Y mae yn wir fod llawer o'r dyscu yma yn gynnwysedig mewn dad-ddyscu; ac mai gwybodaeth negyddol, gan mwyaf, yw'r wybodaeth a geir; ond y mae hi yn wybodaeth serch hynny. Gwybodaeth chwerw

yn ddiau yw'r wybodaeth a ennilla dŷn trwy brofiad; o blegid dyscu y mae e felly trwy gael ei siommi a'i ddidwyllo yn barhaus. Y mae bywiogrwydd ei ieuengctid yn taenu swyn ar bob peth a wêl e; ond y mae pwyll ei ddyndid yn tynnu'r swyn hwnnw ymaith, ac yn dadguddio iddo wir ddelw'r pethau. Y mae efe yn cychwyn i'w yrfa yn llawn gobaith; ond y mae yn ei gorphen mewn mwy neu lai o anobaith. Ar ôl myned i obeithio llai-lai yn y byd ac yn y pethau sydd yn y byd, y mae yn ei diweddu trwy beidio â gobeithio; er mwyn cael o hono'i siommi ambell waith er gwell. Buasai'r didwyllo cysson hwn sydd arno yn ei yrru i anobaith hollol, oni buasai fod y peth yn myned ym mlaen mor araf.

Pa faint gwell ydym o wybod y gwirionedd am y byd, am fywyd, ac am danom ein hunain, os gofid a siommedigaeth yw ffrwyth y wybodaeth honno? Pa les ini wybod mai ychydig a drwg yw dyddiau'n blynyddoedd ar y ddaear; fod y byd yn gorwedd mewn drygioni, a'n bod ninnau ein hunain yn aros yn ein pechodau, os na wyddom y gwirionedd y sy'n rhyddhau oddi wrth bechod, ac oddi wrth bob rhyw ddrwg a ddaeth i'w ganlyn? A ydwyt yn gweled y bywyd hwn yn rhy fyr? Cymmer afael ar y bywyd tragwyddol; y mae hwnnw yn sicr, yn ddigon o hyd. A ydwyt yn gweled mwyniant bywyd yn ffaglu, ac yna yn darfod yn chwap fel clindarddach drain? Y mae digonolrwydd llawenydd ger bron Duw; ac ar ei ddeheulaw y mae digrifwch yn dragywydd. A ydwyt yn gweled y byd yn ddrwg? Tyred i fynydd Sïon, at yr angylion, y cyntafanedigion, ac ysprydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd, A ydwyt yn gweled dy hunan yn waeth na neb, nes bod yn ffiaidd gennyt dydi dy hun? Wele yNghrist wirionedd sy'n perffeithio ac yn glanhau oddi wrth anwiredd lawer. Ynddo ef, gellir dy wneuthur yn greadur newydd, gwiw edrych arnat; ac wedi dy wneuthur yn newydd dy hun, gweli bob peth

yn newydd. Gwyn dy fyd, wedyn; canys gwyn yn wir a fydd y byd ar y diwrnod duaf i enaid gwyn. "Os rhodiwn yn y goleuni, megis y mae efe yn y goleuni," ymddengys wyneb y tir ac wyneb y dwfr yn deccach o lawer ini yn y goleuni hwnnw. Pa ham y mae golygfeydd Deheubarth a Chanolbarth Europ yn ymddangos gymmaint mwy swynol na golygfeydd cyffelyb yn y wlad hon? Am eu bod mewn goleuni gloewach, ac mewn awyr yscafnach, a bod y rheini drachefn yn yscafnhau yspryd yr edrychydd. Yr un ffunud, y mae golygfeydd natur ym mhob gwlad yn edrych yn fwy dymunol fyth mewn goleuni ac awyr ysprydol.

Wedi'r cwbl, nid yw golygfeydd gorau natur yn gyfryw ag na ellir synio am eu gwell; yr hyn sy'n arwyddo na fwriadodd Duw ddim i'r daearol ladd ein chwant am y nefol. Y mae talaith Touraine, paradwys Ffraingc, tir y dyfroedd tawel a'r preswylfeydd llonydd, yn deg odiaeth; ond rhaid i mi addef fy mod wrth ddarllen am dani, cyn ei gweled, yn disgwyl cael paradwys well. Y mae y Rhôn a'r Rhein yn llifo yn fawreddig mewn mannau; ond nid mor fawreddig chwaith a'r Rhôn a'r Rhein a oedd yn rhedeg yn flaenorol yn fy nychymmyg i. Y mae'r Alpau yn uchel iawn; ond y mae yn hawdd synio am fynyddoedd uwch. Yn wir, pan oeddwn i yn nesàu i'w cymmydogaeth y waith gyntaf eriôed, codais fy llygaid ar lettraws tu a'r wybren, a gofynnais i gyddeithiwr, Attolwg, syr, pa le y mae'r Alpau? "Daccw hwynt," eb yntau, gan ddal ei fys bron yn gydwastad a'i yscwydd. Gan fod yn rhaid i mi ddyrchafu fy llygaid i weled y Wyddfa, yr oeddwn yn meddwl fod yn rhaid imi ddyrchafu fy mhen hefyd i weled yr Alpau, y sy deirgwaith a chwaneg yn uwch; heb ystyried effaith pellder, a chrymmedd y ddaear a'r wybren, ar ymddangosiad maint pethau. Fe'm siommwyd i yn ddirfawr wrth orfod edrych yn is ar wrthrychau yr oeddwn wedi

arfer edrych i fyny attynt yn fy meddwl; a bu raid i mi gerdded lawer gwaith wrth draed yr Alpau, a dringo i'w pennau fwy nag unwaith, er mwyn dyscu synio drachefn eu bod yn uchel anghyffredin.

Braidd y boddlonir y llygaid, chweithach y gàlon, wrth edrych ar y pethau a welir; er mai Duw ei hun a'u gwnaeth. Gwlad dda yw'r ddaear, er gwaethaf ei drain a'i hyscall—rhy dda o lawer i bechadur anniolchgar; er hynny, nid yw yn ddigon da i foddloni blys neb. Ordeiniwyd moni i dorri blys, eithr yn unig i godi blys am wlad well; hynny ydyw, un nefol. Fe'n galluogodd y Creawdr ni i *freuddwydio* am olygfeydd harddach nag a welir ar y ddaear; "eithr ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i gàlon dŷn (ynghwsc nac yn effro) y pethau a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant ef." Pe na buasai efe wedi darparu pethau mwy sylweddol ar ein cyfer, gallasai'n breuddwydion ni beri ini feddwl ein bod yn rhagori mewn dyfeisgarwch ar y Creawdr ei hun. Gwyddom pa beth a wnaeth Duw; ac wele, da iawn yw ei waith; a gŵyr rhai o honoch beth a ddarparodd e i'r rhai sy'n ei garu; ond ni ŵyr y gorau o honoch pa beth yn rhagor a *fedr* e'i wneyd. "I'r hwn a *ddichon*—a ddichon wneuthur yn dra rhagorol, y tu hwnt i bob peth yr ydym ni yn eu dymuno neu yn eu meddwl, iddo ef y byddo'r gogoniant." Pan elot i'r nefoedd, Gristion, addefi wrth bawb o'th amgylch na feddyliaist erioed fod bryniau tragwyddoldeb mor uchel, fod afon y bywyd mor loew'i dŵr, a bod ei glannau mor swynol; ac na ddychmygodd dy gàlon y gallai un baradwys bynnag fod mor baradwysaidd a Pharadwys Duw. Os ŵyt wedi dy siommi er gwaeth yn y ddaear, fe'th siommir er gwell yn y nef.

Ond y mae rhywbeth annhraethadwy y gallwn ei weled a'i wybod yn awr: sef gwybod y gwirionedd—gwybod cariad Crist, yr hwn sydd uwch law gwybodaeth.

Cyn dywedyd mai siommedig yw pob peth, ceisiwn amgyffred gyd â'r holl saint pa beth yw hyd yr afon hon, pa beth yw lled y cefnfor hwn, pa beth yw dyfnder y glyn yma, a pha beth yw uchder y mynydd hwn. Ym myd y gwirionedd y ceir y golygfeydd mwyaf aruthr ac amrywiol; am hynny y dywedodd Dafydd mewn syndod: "Dy drugaredd, Arglwydd, sydd hyd y nefoedd, a'th wirionedd hyd y cymmylau. Fel mynyddoedd cedyrn y mae dy gyfiawnder; dyfnder mawr yw dy farnedigaethau."

Oni ddeuwn i wybodaeth y gwirionedd eang, dwfn ac uchel yma, y sy'n goleuo, yn rhyddhau, ac yn glanhau y neb a'i gwyppo, nid awn i mewn i'r dragwyddol deyrnas, lle y gwybyddir y gwirionedd yn ei gyflawnder ac yn ei fwyniant. Myned rhagddynt, rhagddynt, byth bythoedd, i wybodaeth y gwirionedd y daethpwyd iddo ar y ddaear, a fydd gwaith y saint yn y nef. Dyma "lwybr y bywyd" a ddangosir iddynt. Ac y mae'r llwybr hwn yn faith, ond "deuparth y daith yw ei dechrau."

## XIV.

## PERTHYNASAU YN OL YR YSPRYD.

"*Tra yr oedd efe yn llefaru wrth y torfeydd, wele, ei fam a'i frodyr oedd yn sefyll allan, yn ceisio ymddiddan âg ef. A dywedodd un wrtho, Wele, y mae dy fam di a'th frodyr yn sefyll allan, yn ceisio ymddiddan â thi. Ac efe a attebodd ac a ddywedodd wrth yr hwn a ddywedasai wrtho, Pwy yw fy mam i? a phwy yw fy mrodyr i? Ac efe a estynnodd ei law tu ag at ei ddiscyblion, ac a ddywedodd, Wele fy mam i, a'm brodyr i. Canys pwy bynnag a wna ewyllys fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd, efe yw fy mrawd i, a'm chwaer, a'm mam.*"

MATH. xii. 46—50.

PAN oedd yr Iesu yn llefaru wrth y dyrfa y waith hon yr ydys yn tybied ddarfod i wraig o'r dyrfa lefain, gan ddywedyd wrtho, "Gwyn fyd y groth a'th ddug di, a'r bronnau a sugnaist," a darfod iddo yntau atteb, gan ddywedyd, "Yn hytrach, gwyn fyd y rhai sy'n gwrandaw gair Duw, ac yn ei wneuthur. Os felly, y mae'r hyn a ddywedodd efe wrth y wraig hon yn cyttuno â'r hyn a ddywedodd am ei fam a'i frodyr, ac hefyd yn egluro'i ymddygiad tu ag attynt.

Erbyn hyn yr oedd cymmaint o bellder rhwng yr Iesu a'r Phariseaid, fel yr oedd y rhain yn dechreu dywedyd mai trwy bennaeth y cythreuliaid yr oedd efe yn bwrw allan gythreuliaid; a chymmaint yw dylanwad llais y lliaws ar farn personau, fel y dywedodd ei berthynasau ef ei hun ei fod allan o'i bwyll. Yr oedd allan o'i bwyll, yn eu tyb hwy, naill ai am ei fod dan ddylanwad Beelzebub, neu ynte am ei fod yn beiddio cyffroi

llid dosparth o grefyddwyr mor ddylanwadol a'r Pharisead. "Am hynny, medd Marc, hwy a ddaethant i'w ddal ef," er mwyn ei gymmeryd adref trwy drais, a'i gadw rhag dwyn ei hun i berygl, a dwyn ei deulu i waradwydd. Yr ydys yn dywedyd yn eglur nad oedd ei frodyr yn credu ynddo; ac y mae yn amlwg fod ei fam hefyd wedi ei siommi ynddo, a bod ei hynt ef yn y byd yn wahanol iawn i'w disgwyliadau hi. Wrth weled ei fod trwy ei eiriau a'i weithredoedd wedi colli ffafr y pennaethiaid, a llawer o'r bobl gyffredin hefyd, aeth hi, fel Ioan Fedyddiwr, i ammau a oedd ei syniad cyntaf am dano yn un cywir. Os oedd ymddygiad yr Iesu yn peri gofid iddi hi, y mae yn ddiau fod ei gwaith hithau yn ei gyfrif yn fath o aderyn brith ym mhlith ei phlant, yn peri gofid nid bychan iddo yntau. Ni chafodd yr Iesu ddim cefnogaeth, na nemmor o gydymdeimlad chwaith, gan ei deulu ei hun i wneuthur ei waith ar y ddaear. Y mae'r Catholigion, yn wir, yn haeru nad oedd mam yr Iesu gyd â'i frodyr ef, pan ddaethant i'w ddal; ïe, y maent yn dywedyd nad ei frodyr priodol ydoedd y brodyr hyn, eithr cefndyr iddo; ac nad ar yr un amser a phan oedd ei fam a'r *ail* frodyr hyn yn ceisio ymddiddan âg ef yr oeddid yn ceisio'i ddal. Prin y rhaid dywedyd mai syniadau uchel—*gor*uchel y Catholigion am Mair sy'n eu hattal rhag rhoi'r esponiad naturiolaf ar yr hanes. Diau fod i fam yr Iesu lawer o rinweddau; ond yn yr efengylau, yr ydys yn rhoi mwy o amlygrwydd i'w gwendidau nag i'w rhinweddau; a hynny, ond odid, rhag i Gristionogion gael eu temtio i'w thradyrchafu, ac i'w gosod hi rhyngddynt a'i Mab.

Ond pa mor angall bynnag y gallai Mair ymddwyn ar amserau, a pha mor anghymmeradwy bynnag oedd bywyd cyhoeddus yr Iesu ganddi, a oedd ei bod hi yn pallu mewn callineb ac mewn cydymdeimlad, yn ei gyfiawnhau ef am naccàu myned allan i ymddiddan â hi, am ddi-

brisio ei berthynas â hi, ac am ei hatteb mor gras pan fyddai hi yn dywedyd rhywbeth wrtho? Y mae'r Catholigion, a rhai Protestaniaid hefyd, yn yscoi'r anhawsder, trwy ddywedyd mai mewn ymddangosiad yn unig yr ydoedd ei attebion yn gras. Cras neu amgen, y mae pob darllenwr diragfarn yn teimlo nad ŷnt ddim yn gyfryw attebion ag y buesid yn eu disgwyl gan fab. Pe bâi rhyw fam bryderus yn ymliw â'i bachgen colledig, gan ddywedyd, "Fy mab, pa ham y gwnaethost felly â ni? Wele, dy dad a minnau yn ofidus a'th geisiasom di," ai atteb fel hyn a ddisgwyliem gan fachgen deuddeg oed? —"Pa ham y ceisiech fi; oni wyddech fod yn rhaid i mi fod ynghylch y pethau a berthyn i'm Tad?" Er bod Mair yn dywedyd "Fy mab" wrtho ef, etto nid oedd yn wiw ganddo ef ddywedyd Fy mam wrthi hi. Hyd yn oed i ni yn y wlad hon, lle y mae'r anwyldeb rhwng rhieni a phlant yn llai o lawer nag ydyw ar y Cyfandir, y mae'r pellder rhwng yr Iesu a'i fam yn ymddangos yn fawr iawn. Y gwir ydyw, pe na buasai'r Iesu yn rhywun mwy na dŷn cyffredin, a'i waith yn rhywbeth uwch na gwaith pob dŷn arall, ni buasai modd cyfiawnhau ei ymddygiad ef at ei fam. Er hynny, oddi eithr pan roes efe, yn ddeuddeg oed, awgrym o'i berthynas uwch â'i Dad nefol, bu efe, tra yn Nazareth, yn ostyngedig i'w rieni. Hyd onid oedd yn ddêng mlwydd ar hugain oed, bu yn esampl o fab i bob mab arall. Ond cyn gynted ag yr ymroes i'r gwaith mawr ac arbennig y danfonwyd ef i'r byd i'w wneuthur, peidiodd efe a bod yn esampl o fab ac o frawd. Duw, bellach, oedd ei dad ef, a'i ddiscyblion oedd ei fam a'i frodyr a'i chwiorydd ef. Pan oedd gartref yn Nazareth, y mae yn ddiau ei fod yn galw Mair yn fam; ond gwraig yn unig oedd hi yn ei olwg ef, ar ôl iddo ddechrau ar ei waith; a gwraig y mae yn ei galw o hyn allan.—"Beth sydd i mi a wnelwyf â thi, wraig?" eb efe yn y wledd briodas; ac eb efe drachefn,

ychydig cyn marw, "O wraig, wele dy fab," gan gyfeirio at Ioan. *Wele* dy fab, yn sefyll ger dy law; am hynny, nac edrych am dano yma ar y groes; canys oni ddywedais wrthyt, er ys talm, "Beth sydd i mi a wnelwyf [mwyach] â thydi?" Fe fu a wneuthum â thi am ddêng mlynedd ar hugain; am hynny, na chwyna o achos imi roddi dwy flynedd neu dair yn gyfangwbl i'm Tad. Pan wnelot tithau ewyllys y Tad hwnnw, byddi i mi yn fam ysprydol, yr hyn a fydd yn fwy o fraint na bod yn fam naturiol.

Er imi ddywedyd nad yw'r Iesu, ar ôl ymroddi i'w waith cyhoeddus, ddim yn esampl i ni ym mhob peth; etto, y mae, hyd yn oed fel mab a brawd yn esampl ini yn hyn o beth, sef yn ei waith yn ceisio llesâd lloweroedd yn fwy na llesâd ei berthynasau; ac yn enwedig yn ei waith yn rhoi mwy o fri ar berthynas ysprydol nag ar berthynas anianol. Hyn, mewn gwirionedd, y mae'r Iesu yn ei ddyscu yn y testyn, sef mai perthynas ysprydol yw'r unig berthynas y mae efe yn ei chydnabod, ac mai gwneuthur ewyllys Duw yw ammod y berthynas honno.

Nid yw'r Iesu yn dywedyd yn bendant nad ydoedd ei fam a'i frodyr a'i chwiorydd yn berthynasau iddo; ond y mae yn dywedyd yn eglur nad oeddynt ddim yn berthynasau iddo, os nad oeddynt yn ddiscyblion iddo: "Efe a estynnodd ei law tuag at ei ddiscyblion, ac a ddywedodd, wele fy mam i a'm brodyr i." Yr oedd y rhain yn berthynasau iddo yn ôl yr yspryd; a'r cyfryw rai yn unig y mae efe yn eu cyfrif yn berthynasau gwirioneddol. Perthynas ysprydol sy'n cyfuno dynion â Christ; a pherthynas ysprydol sy'n cyfuno dynion â'u gilydd hefyd. Y mae yn wir fod perthynas naturiol yn cydfod yn fynych â pherthynas ysprydol, a bod y berthynas isaf wedi ei bwriadu i arwain dynion i'r berthynas uchaf. Gwaeth na'r diffydd; ïe, gwaeth na'r anifail direswm, yw'r hwn nid yw yn darbod dros ei deulu; er hynny,

nid Cristion mo'r dŷn sy'n ymfoddloni ar garu ei deulu. Dylai caru teulu ein dyscu i garu tylwyth; caru tylwyth ein dyscu i garu llwyth; caru llwyth ein dyscu i garu cenedl, a charu cenedl ein dyscu i garu dŷn, am ei fod yn ddŷn. Os yn y teulu y dylai'n cariad ddechrau, nid yn y teulu y dylai ddiweddu. Yn hytrach, fe ddylai ddylifo o gylch llai i gylch mwy. Y mae gan y ddynoliaeth ei hawliau yr un ffunud a'r teulu—hawliau sy'n codi o'r berthynas sy rhwng holl blant Adda a'u gilydd; a phe baem ni, y sy'n galw'n hunain yn Gristionogion, yn cydymdeimlo mwy â'r hawliau cyffredinol hyn, fe godem ein llef yn uwch o lawer yn yr eglwysi ac yn y senedd yn erbyn anghyfiawnder cenedloedd cryfion tuag at genedloedd gweinion.

Perthynas deuluol, y mae yn wir, yw'r berthynas gyntaf, a chariad teuluol yw'r cariad naturiolaf; ond am ei fod y cariad naturiolaf, y mae llai o'r ysprydol ynddo nag sy mewn un cariad arall. Heb law hynny, y mae perthynas deuluol yn fwy damweiniol nag un berthynas arall. Y gŵr a'r wraig yn unig sy'n cael dewis eu gilydd. Nid yw neb yn cael dewis ei dad a'i fam, ei frodyr a'i chwiorydd; rhaid iddo gymmeryd y rhain fel y maent. Er hynny, y mae efe yn eu caru hwynt yn fwy nag eraill.—Pa ham? Nid am eu bod hwy yn well nag eraill, eithr am eu bod yn well nag eraill ganddo ef ac iddo ef. Am ei fod wedi ei fagu ar yr un aelwyd â hwynt; ac felly wedi ei ddyscu i ymddygymmod â hwynt. Pe cymmeresid ef oddi wrthynt yn ei fabandod, a'i ddwyn yn ôl attynt yn bymtheg oed, y mae yn fwy na thebygol nad hwynt hwy a fuasai efe yn eu dewis yn dad ac yn fam, yn frodyr ac yn chwiorydd. Felly, er fod cariad perthynasol yn gariad cryf iawn, y mae efe yn hongian wrth linynnau tra meinion—llinynnau nad ydynt fawr amgen na damweiniau.

Heb law hynny, cariad yw hwn y mae amser ac amgylchiadau yn ei wanhau. Hwyrach fod y tad a'r fam yn annyscedig; er hynny, y maent yn ymboeni i roddi addysc dda i'w mab, ac i'w osod mewn galwedigaeth barchus. Ond wrth wneyd hynny, y maent yn ei bellàu oddi wrthynt hwy eu hunain, nid yn unig o ran lle, eithr hefyd o ran ei dueddiadau a'i amcanion. Ni all y tad mwyach ymddiddan ynghylch y pethau a welodd, a glywodd ac a ddarllenodd y mab; ac ni all y mab mwyach ymddori yn y mân bethau sy'n dyddori ei dad. Y mae efe etto yn caru ei dad; ond erbyn hyn, y mae yn ei gariad fwy o ddiolchgarwch ac o gydymdeimlad nag o hyfrydwch.

I garu â chariad diball a digyfnewid, rhaid i ddynion fod o'r un tueddfryd ac o'r un awyddfryd; rhaid iddynt ymddori yn yr un pethau ac ymestyn at yr un nod; a chrefydd Crist, yn fwy na dim arall, sy'n gwneuthur dynion yn debyg i'w gilydd yn eu tueddiadau, eu syniadau, eu gobeithion, a'u hamcanion. Pa mor fawr bynnag a fo'r gwahaniaeth rhyngddynt o ran eu gras, eu dawn, eu gwybodaeth, a'u cyflwr yn y byd, y maent oll yn caru yr un Person, ac yn caru eu gilydd o blegid eu perthynas â'r Person hwnnw. Y mae eu cariad yn rhyfeddol, y tu hwnt i gariad gwragedd, am ei fod yn gariad ysprydol; ac y mae eu cariad yn ysprydol, am fod eu perthynas yn ysprydol.

Y mae amser ac amgylchiadau, meddaf etto, yn dirymmu cariad anianol, ac angau yn ei ddiddymmu yn llwyr, oni bydd wedi ei santeiddio â chariad ysprydol. Derfydd y cariad, am y derfydd y berthynas sy'n sail iddo; canys perthynas dros amser yn unig yw pob perthynas naturiol. Perthynas ysprydol yw'r berthynas a bery byth. Os yw'r apostol yn dywedyd nad yw'r saint gorau yn adnabod neb yn ôl y cnawd ar y ddaear, mwy o lawer y gellir dywedyd nad adnabyddant neb yn ôl y cnawd

yn y nef. Yno, nid yn ôl y cnawd yr adnabyddi dy briod na'th blentyn na'th frawd na'th chwaer, eithr yn ôl yr yspryd. Yno, nid oes na gwreicca na gwra, nac ailgylymmu'r berthynas anianol a ddattodwyd ar y ddaear. Os gweli y bydd dy wraig neu dy ferch yn debyccach eu hyspryd nag eraill i ti dy hun, yna fe'u ceri yn fwy nag eraill; os amgen fe geri eraill yn fwy na hwynt-hwy. Yn ôl yr yspryd, ac nid yn ôl y cnawd, y bydd y saint yn adnabod ac yn caru eu gilydd yn y byd tragwyddol. Mewn gwirionedd, ni bydd yno ddim cnawd i'w garu; canys ni ddichon cig a gwaed etifeddu teyrnas Dduw. Ysprydion glân mewn cyrff ysprydol, wedi eu rhwymo ynghyd yn berthynasau ysprydol â rhwymau cariad ysprydol, a fydd trigolion y nef. Yn uffern, ni bydd yno na charu yn ôl y cnawd nac yn ôl yr yspryd; ni bydd yno na pherthynas anianol na pherthynas ysprydol. Gan na bydd dim perthynas rhwng y colledigion a Christ, ni bydd dim perthynas rhyngddynt a'u gilydd chwaith. Perthynas âg ef, yr hwn yw gwreiddyn a dechreuad creadigaeth Duw, a phen corff yr eglwys, yw sail pob perthynas arall. Nid ŵyf fi yn perthyn i'm chwaer, na'm chwaer yn perthyn i minnau, os nad ŷm ein dau yn perthyn i'r Iesu. Fel mai ynddo ef y mae pob peth yn cydsefyll, felly ynddo ef y mae pob llinyn perthynasol yn cydgyfarfod. Efe yw càlon y ddynoliaeth; a marw a wna pob aelod a'r nad yw yn derbyn ei waed o hono ef. Marw yr un ffunud a wna pob cariad na wresogwyd mono gan wir wres ei fynwes ef. Gwyddoch ond odid mai yr un gwreiddyn sydd i'r gair Cymraeg *marw* ag sydd i'r geiriau *malu*, *melin*, a *malurio*. Yr hyn sy'n malu ac yn chwalu yw marw, pa un bynnag ai marw naturiol ai marw ysprydol; ac y mae hyn yr un peth yn union a'r hyn y mae'r gwyddoniaid yn ei alw, yn eu hiaith chwyddedig hwy, yn ddadgyfansoddi yr hyn sy gyfansawdd. Y mae marwolaeth yn malu corff dŷn, ac

yn gwahanu elfennau'r corff hwnnw oddi wrth eu gilydd; heb sôn am wahanu'r enaid oddi wrth y cwbl. O! malu a chwalu tost a fydd ar ddŷn ym melin yr Angau. Fe wahenir ei wahanol rannau oddi wrth eu gilydd; fe'i gwahenir yntau ei hun oddi wrth ei berthynasau yn ôl y cnawd; ac fe'i gwahenir oddi wrth ei gariad anianol tu ag attynt. Ond, eb yr apostol, "Pwy a'n gwahana oddi wrth gariad Crist? Y mae yn ddiogel gennyf na all nac angau nac einioes ein gwahanu oddi wrth gariad Duw, yr hwn sydd yNghrist Iesu ein Harglwydd." Fe bery'r cariad ysprydol hwn; a hynny am y pery'r berthynas ysprydol sy rhwng yr Iesu a'i ddiscyblion, a rhwng y discyblion a'u gilydd.

Ond pa beth y mae'r Iesu yn ei ddywedyd yn y testyn yw ammod perthynas âg ef? neu, mewn geiriau eraill, pwy sy'n perthyn iddo? Pwy bynnag a wna ewyllys ei Dad, yr hwn sydd yn y nefoedd. "Pwy bynnag," boed ef hên neu ieuangc, tlawd neu gyfoethog, caeth neu rydd, du ei groen neu wyn—nid oes gwahaniaeth. Nid y rhai a aned o waed, nac o ewyllys y cnawd, nac o ewyllys gŵr, sy'n aelodau o deyrnas nefoedd, eithr y rhai a aned o Dduw. Y mae y rhain yn frodyr i'r Iesu ac i'w gilydd, am eu bod wedi eu geni o'r un Tad; a chan eu bod o Dduw, y mae anian Duw ynddynt; ac y mae'r anian honno yn eu cymmell ac yn eu galluogi i wneuthur ewyllys Duw. I wneuthur ei ewyllys, meddaf, ac nid i wneuthur ei air yn unig. Yn ôl Luc, hyn a ddywedodd yr Iesu pan fynegwyd fod ei fam a'i frodyr yn sefyll allan ac yn ewyllysio'i weled: "Fy mam i a'm brodyr i yw y rhai hyn, sydd yn gwrandaw gair Duw, ac yn ei wneuthur." Y mae achos i feddwl mai Mathew a Marc a gofnododd eiriau'r Iesu gywiraf. Er hynny, y mae gwrandaw a gwneuthur gair Duw yn ddeffiniad pur dda o wneuthur ewyllys Duw; ond nid yw yn ddeffiniad cyflawn; canys y mae gwneuthur ewyllys Duw yn cyn-

nwys mwy na gwneuthur ei air. Fe all y gwas wneuthur gair ei Arglwydd, ond mab a all wneuthur ei ewyllys ef. Fe all dŷn gadw holl orchymynion Duw heb wneuthur ei holl ewyllys ef. Pa bethau sydd yn gwneyd dŷn yn dduwiol? Gwrando a gwneuthur y gair sydd y tu allan iddo; gwrando ar lais y gydwybod sydd o'i fewn, a dilyn ôl yr Arglwydd Iesu. Pa beth sydd yn gwneyd dŷn yn dduwiol *iawn*? Y profiad sydd yn dyfod o wneuthur y tri pheth arall,—"Fel y profoch beth yw daionus a chymmeradwy a pherffaith ewyllys Duw." Y mae Cristion profedig, o hir ymarfer â byw wrth reolau, yn medru byw heb reolau. Prentis o Gristion sydd yn ymofyn yn wastadol Beth a ddywed yr Arglwydd? Beth a ddywed fy nghydwybod? Pa beth a wnaeth neu pa beth a wnae yr Iesu? Y mae meistr o Gristion yn ufuddhau i Dduw, i'w gydwybod, ac i Grist yn naturiol, ac megis heb yn wybod iddo ei hun. Ni raid iddo ef chwilio llyfr y gyfraith er mwyn gwybod beth a ddylai ei wneuthur yn yr amgylchiad hwn a'r amgylchiad arall, canys y mae'r gyfraith wedi ei scrifennu yn ei feddwl ac yn ei galon. Y mae *anian* Duw ynddo ef; y mae ganddo ef *feddwl* Crist; am hynny y mae yn gwneuthur ei holl ddyledswyddau megis o reddf ac nid wrth reol. Nid casgl o ddeddfau a barnedigaethau ydyw'r Beibl, eithr llyfr i'n cynnorthwyo i wneuthur ewyllys Duw. Y mae Duw yn disgwyl i'w blant wneuthur llawer o bethau na ddarfu iddo ef mo'u gorchymmyn. Y mae efe yn rhoi lle iddynt i ddangos tippyn o wreiddioldeb a dyfeisgarwch yn eu crefydd. Fel y mae'r annuwiol yn dychmygu anwiredd ar ei wely, felly y mae'r duwiol yn dychmygu rhyw ddaioni. Ni wnaeth y wraig oedd bechadures yn ol un gorchymmyn nac yn ol un esampl wrth olchi traed yr Iesu â'i dagrau, a'u sychu â gwallt ei phen; er hynny, hi a wnaeth weithred ganmoladwy. Y mae crefydd gyffredin—rhigwm o grefydd, yn gwneyd y

tro gan yr Iesu; ond crefydd â llygedyn o farddoniaeth ynddi sydd yn ei swyno. Yr oedd y gŵr ieuangc cyfoethog a ddaeth at yr Iesu yn rhigymmwr medrus—yn un o brydyddion manylaf bôn y glêr; ond nid oedd dim o'r bardd ynddo, am nad oedd ganddo ddim dawn i ddychmygu. Efe a gadwodd yr holl orchmynion o'i ieuengctid; er hynny, nid oedd-o yn berffaith, am nad oedd-o yn medru ymgodi uwch law rheolau.

Pa ham na ddywedase'r Iesu mai y rhai sydd yn ei ddilyn ef sydd yn berthynasau iddo? Am mai wrth wneuthur ewyllys y Tad yr ydys yn dilyn ei Fab ef, ac nid wrth geisio ei ddynwared yn ei holl weithredoedd. Y mae discyblion, sef dilynwyr yr Iesu, yn bobl amgenach na dynwaredwyr. Os ydys yn y Beibl yn gorchymmyn i ni ddilyn ei ôl ef, a rhodio megis ag y rhodiodd efe, nid ydys yn gofyn i ni ei ddilyn trwy ddodi ein traed megis yn olion ei draed ef, eithr ei ddilyn trwy rodio yn yr un cyfeiriad ag y rhodiodd efe; hynny ydyw, trwy wneuthur ewyllys y Tad. Yr oedd Crist yn Waredwr; am hynny, ni ddyle ac ni ddichon y gwaredigion ei ddilyn ef yn mhob peth. A phe na buase-fo ond dŷn yn unig, ni allase-fo fod yn esampl i bob dyn yn mhob peth. Er engraifft, ni all-o fod yn gynllun o briod ac o dad i neb, am na bu-o yn briod ac yn dad ei hun. O'r tu arall, fe ddylem ni wneyd llawer peth nad oedd raid i'r Iesu ei wneyd; megis cyffesu pechodau, edifarhau, a gweddïo am faddeuant. Y mae'r mynachod yn eglwys Rhufain yn proffesu dilyn yr Iesu yn fanwl; ac am hynny y maent yn byw yn ddibriod, ac yn byw ar elusennau; ond nid ydym ni Brotestaniaid yn credu fod yr Iesu yn gofyn i ddynion ei ddilyn ef yn y pethau hyn. Y mae'r Cownt Tolstoi o Rwsia yn haeddu parch ac edmygedd am aberthu tiroedd ac arian ac anrhydedd, a dewis byw fel gweithiwr cyffredin ym mysc ei hên weithwyr ei hun;

ac wrth ystyried mai efe yngolwg llawer ydyw scrifennwr pennaf ei oes, y mae-o yn haeddu diolchgarwch am ganiattau i bawb ym mhob gwlad gyhoeddi ei lyfrau heb ofyn ganddynt ddim o'r elw iddo ei hun. Ond yr ydys yn teimlo nad oedd Crist yn gofyn iddo ef, oedd yn dirfeddiannwr cyfiawn a thrugarog, aberthu cymmaint, yn y ffordd hon—mewn gwirionedd nad oes dim dyled ar neb i werthu ei holl feddiannau ac i roddi eu gwerth i'r tlodion namyn y sawl y mae eu meddiannau yn rhwystr ac yn fagl iddynt. Am y dŷn sydd yn treulio ei gyfoeth i folera, i ymloddesta, i ddawnsio ac i hela, gweithred rasol a fydde gorchymmyn i hwnnw newid ei fyd, trwy fyw ar swllt yn y dydd, ac ennill hwnnw trwy chwys ei wyneb.

Y mae aml orchymmyn mwy cyffredinol na'r gorchymmyn i werthu ein meddiannau nad ydym ni, Brotestaniaid, yn gweled yn dda ei wneuthur. Er engraifft, nid oes un gorchymmyn mwy eglur a phendant na'r gorchymmyn a roddwyd i'r discyblion i olchi traed eu gilydd; er hynny, gan fod arfer a hinsawdd gwledydd y Gorllewin mor wahanol i rai y Dwyrain, barnu yr ydym y gallwn ni ddangos ein gostyngeiddrwydd a'n gwasanaethgarwch mewn ffyrdd buddiolach na thrwy olchi traed ein gilydd. Am resymmau go gyffelyb y mae y rhan fwyaf o Gristionogion yn arfer llai o win yn Swpper yr Arglwydd a llai o ddwfr yn y bedydd.

Dywedyd yr ydwyf nad yw holl orchmynion yr Iesu ddim yn orchmynion i bawb; nad yw ei weithredoedd ef ddim yn esamplau i bawb, ac nad yw llawer o'i weithredoedd ddim yn *esamplau* i neb. Nid yn null ei fywyd, a manylrwydd ei fywyd y disgwylir i ni fod yn ddiscyblion neu ddilynwyr iddo, eithr yn yspryd ac amcan ei fywyd. I wneuthur ewyllys yr hwn a'i hanfonodd y daeth efe i'r byd, ac yn y modd y gwnaeth ef ewyllys ei Dad y mae efe yn esampl i ni. Nid pa beth a wnaeth yr *Iesu* a ddyle fod

cwestiwn mawr ei ddiscyblion, eithr pa beth a fynne-fo *i ni* ei wneuthur, neu yn hytrach, pa beth a fynne'r Tad i ni ei wneuthur.

Bydded ynom y *meddwl* oedd yNgrist Iesu, ac felly ni a weithredwn weithredoedd Duw, heb wneuthur yr un a'r unrhyw weithredoedd ag a wnaeth yr Iesu. Er fod yr Iesu yn wir ddŷn, ac felly yn gyffelyb i'w frodyr, etto, yr oedd ef yn ddŷn digyffelyb hefyd—yn ddŷn ar ei ben ei hun; ac am hynny ni all bywyd neb ohonom ni fod yn gyflun neu gopi caeth o'i fywyd ef; ac yn wir, ni bydde yn fuddiol i fywyd yr Iesu a bywyd ei ddiscyblion fod yn gyffelyb i'w gilydd yn yr un ystyr ag y mae cyfrolau o'r un argraffiad yn debyg i'w gilydd. Y mae gan bob dŷn ei waith ei hun, yn ôl ei oedran, ei ddawn, a'i sefyllfa; ac wrth wneuthur o bob un ei waith ei hun, yn ol ei allu ei hun, y gall-o yn orau wneuthur ewyllys Duw, a dilyn ei Fab ef.

Y mae yr Undodiaid, a phawb sydd yn credu mai dŷn yn unig oedd yr Iesu, yn haeru fod yr Iesu yn esampl ini ym mhob peth. Beth a wnaeth yr Iesu? yw eu cwestiwn mawr hwy; ac y mae rhai o honyn, er mwyn porthi yspryd chwilfrydig y dosparth ieuengaf o Gristionogion, yn dechrau gofyn bellach Beth a wnae'r Iesu?—What *would* Jesus do? Y mae hwn yn gwestiwn pur gywrain, ac yn un y gellir rhoddi llawer atteb cywrain iddo; ond gan y bydde yn anodd cael dau ŵr i roddi yr un atteb iddo, pan nad oes a wnelo-fo â phwngc o foesoldeb cyffredin, nid yw-o yn gwestiwn buddiol. Ni ellir ar y gorau ond dyfalu pa beth a wnae'r Iesu mewn llawer amgylchiad; ac nid oes fawr o awdurdod mewn dyfaliadau. Mewn gwirionedd, pe dywedwn i pa beth a wnae'r Iesu, fe fyddai hynny yr un peth a dyweyd pa beth a wnawn i fy hun pe bawn yn lle'r Iesu. Wrth hynny, creu rhyw Grist bach o'm dychymmyg fy hun y byddwn, a pheri iddo lefaru a

gweithredu wrth fy ewyllys fy hun. Wrth wneuthur ewyllys Duw y gallaf fi ddilyn yr Iesu; ac y mae pob un a'r sydd yn byw yn agos at Dduw trwy fyfyrdod a gweddi yn gwybod pa beth ydyw yr ewyllys honno.

Ai ewyllys Duw a ddywedais? ewyllys y Tad a ddywed y testyn—Tad ein Harglwydd Iesu Grist, ac felly ein Tad ninnau hefyd. Ni all-hi fod yn ewyllys lem, a hithau yn ewyllys Tad. Mwy, ni all fod dim llymder ynddi, o herwydd mai ewyllys ydyw. Ufuddhau i ewyllys Tad, ac nid i gyfraith brenin, y mae plant y deyrnas. Ewyllysio, yn hytrach na gorchymmyn, y mae pob tad; meistr-arglwydd sydd yn ymhoffi mewn rhoddi gorchmynion. Ac y mae pob mab serchog yn deall *ewyllys* ei dad yn well nag y mae gwas yn deall *gorchymmyn* ei feistr. Fe ddywedir am weision Benhadad pan ddaethant at Ahab i erfyn arno arbed einioes eu harglwydd, "A'r gwŷr oedd yn disgwyl yn ddyfal a ddeuai dim oddi wrtho ef, a hwy a'i cipiasant ar frys." Hwy a gipiasant y gair o'i enau, cyn ei ddyfod allan yn llawn. O! nid yw'r plant yn aros am air nac am hanner gair—y maent hwy yn cipio yr *ewyllys*, megis o ganol calon eu tad, cyn iddi ymgodi i'w enau, nac ymffurfio yn eiriau. Nid cystal gan Dduw un darllenwr a'r dyn a fedro ddarllen ei feddwl a'i galon ef ei hun. Y mae tad *naturiol* naill ai yn rhy falch neu ynte yn rhy lednais i ofyn hyd yn oed gan ei blant ei hun bob peth y mae-o yn ei ewyllysio. Y mae Duw hefyd yn rhy fawr i *orchymmyn* i'w blant yntau wneuthur pob rhyw beth y mae-o yn ei ewyllysio; am hynny y mae yn gu iawn ganddo'r plant sydd yn ddigon meddylgar a thringar i ddychmygu pa bethau sydd yn rhyngu ei fodd ef. Gwerthfawr yngolwg Duw fel yngolwg dŷn yw'r cariad mabol y mae ynddo dippyn o ddyfeisgarwch a thippyn o farddoniaeth.

A ydych chwi a minnau yn gwneuthur ewyllys y Tad? Os ydych, yna yr ydych yn berthynasau i'r Iesu—yn

berthynasau agosach iddo nag oedd ei fam a'i frodyr a'i chwiorydd yn ôl y cnawd. A fynne pob un o'r *Maries*—o'r Meiriau sydd yma fod yn Fair mam yr Iesu? A fynne pob James—pob Iago fod yn Iago, brawd yr Arglwydd? A fynne pob merch ieuangc fod yn chwaer i Fab Duw? Gwneler ni oll yn ddiscyblion i'r Iesu, fel y byddo yn wiw ganddo estyn ei law attom, a dywedyd: "Wele fy mam i a'm brodyr i; canys pwy bynnag a wna ewyllys fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd, efe yw fy mrawd i a'm chwaer a'm mam."

## XV.

### Y CREADUR BACH MAWR.

"*Pan edrychwyf ar y nefoedd, gwaith dy fysedd; y lloer a'r sêr, y rhai a ordeiniaist; Pa beth yw dyn, i ti i'w gofio? a mab dyn, i ti ymweled âg ef. Canys gwnaethost ef ychydig îs na'r angelion, ac a'i coronaist â gogoniant ac â harddwch. Gwnaethost iddo arglwyddiaethu ar weithredoedd dy ddwylaw; gosodaist bob peth dan ei draed ef.*"—SALM VIII. 3—6.

FEL y mae'r bedwaredd Salm ar bymtheg yn Salm y dydd, felly y mae'r wythfed Salm yn Salm y nos. Yn honno y mae'r Salmydd yn traethu am ogoniant Duw yn y ffurfafen pan fo'r lloer a'r sêr wedi diflanu, a'r haul yn unig yn ymddangos ynddi. Yn hon y mae yn traethu am ogoniant Duw yn y ffurfafen pan fo'r haul wedi machlud, a'r lloer a'r sêr yn ymddangos ynddi. Gellid meddwl mai edrych ar y nefoedd yn y nos, ac nid edrych arnynt yn y dydd, oedd yn magu ynddo fwyaf o syndod ac o barchedigaeth. Hynny, o'r hyn lleiaf, oedd yn rhoi'r syniad gorau am fawredd Duw ac am fychander dŷn. Y mae'r greadigaeth ei hun yn ymddangos yn fwy yn y nos nag yn y dydd; ac am hynny y mae'r Creawdwr hefyd yn ymddangos yn fwy. Y mae rhyw eangder a dyfnder yn y wybren serog sy'n anad dim arall yn galluogi dŷn i weled godreon yr Anfeidrol. Y mae'r ddaear yn amlyccach yn y dydd nag yn y nos, ond mae'r nefoedd yn amlyccach yn y nos nag yn y dydd; ac y mae mwy o Dduw yn y nefoedd nag sydd ar y ddaear. Duw yn unig sy fawr yn nhywyllwch a distawrwydd y nos; a'r pryd hwnw, y mae dŷn yn fychan hyd yn

oed yn ei olwg ei hun. Yn y dydd, y mae dŷn yn rhy fawr yn ei olwg ei hun i weled Duw. Wrth edrych ar y ddaear, y mae yn anghofio'r nef; ac y mae trwst ei waith ef ei hun yn ei wneyd yn rhy fyddar i glywed llais hyfryttaf tawel y byd a ddaw.

Melus yn ddïau yw'r goleuni, a hyfryd yw i'r llygaid weled yr haul; ac yn niffyg goleuni'r haul, hyfryd yw goleuni nwy, neu oleuni llusern, neu oleuni canwyll; ond os mynnai rhywun weled yr Arglwydd Iôr yn dangos ar y gynfas ddarlun gwych o hono'i hun, rhaid cael stafell weddol dywyll. Rhaid aros i'r haul fachludo, a lleihau goleuni'r llusernau. Rhaid troi'r llygaid oddi wrth bob tippyn o oleuni oddi eithr y goleuni sydd yn y darlun ei hun. Os mŷn dŷn weled rhywbeth a rhywun mwy nag ef ei hun, eled allan ar ei ben ei hun, ar noswaith dawel, serog, loergan, ac edryched ar y sêr melynion, a thu hwnt i'r sêr, i'r glâs dwfn diderfyn sy'n ymgolli ynddo'i hun. Hynny a wnai'r Salmydd yn fynych iawn; ac wrth wneyd hynny yr oedd ei enaid yn ymddyrchafu, yn ymëangu, ac yn ymlenwi â Duw. Ond ar ol edrych ar y nefoedd uchod yr oedd yn ddiogel i'r Salmydd edrych ar y ddaear isod. Ar ol ystyried gogoniant Duw yn y nefoedd, yr oedd yn fuddiol iddo ystyried dŷn, yr hwn a grëwyd i gydnabod y gogoniant hwnnw. Wrth edrych i fyny ar y nefoedd, ac ar Dduw'r nefoedd, teimlo a wnaeth ei fod yn greadur distadl iawn; ond wrth edrych i lawr ar y ddaear, ac ar anifeiliaid y ddaear, teimlo a wnaeth ei fod yn greadur pwysig iawn. I iawn synio am ddŷn, rhaid ini gofio ei fod yn greadur bach ac yn greadur mawr hefyd. Arno'i hun efallai nad yw na bach na mawr; er hynny, bach ydyw o'i gymharu â'r hyn sydd uwch ei law, ond y mae yn fawr o'i gymharu â'r hyn sydd îs ei law.

Felly, dyma'r ddau bwngc y traethaf ychydig arnynt ar

bwys y testyn: Dŷn yn greadur bach, a dŷn yn greadur mawr.

1. *Dyn yn greadur bach.* "Pan edrychwyf ar y nefoedd, gwaith dy fysedd; y lloer a'r sêr y rhai a ordeiniaist, pa beth yw dŷn i ti i'w gofio, a mab dŷn i ti ymweled âg ef?" Yn yr ymadrodd, "Pa beth yw dŷn," y mae'r gair dŷn yn arwyddo dŷn brau, neu ddŷn marwol. Er fod y gwyddoniaid yn dyweyd wrthym fod y sêr yn diffoddi ac yn darfod mewn amser, etto y mae hoedl y seren fwyaf byrhoedlog yn hir-hoedlog iawn wrth hoedl dŷn. Am yr holl sêr amlwg sy'n britho'r wybren, y maent yn ymddangos i ni fel yr oeddynt yn ymddangos i'r Salmydd, ac yr oeddynt yn ymddangos iddo yntau fel yr oeddynt yn ymddangos i Moesen, i Abram, ac i'r hên Galdeaid. Nid oes neb yn gallu tystiolaethu y bu'r seren fore erioed yn fwy eglur nac yn llai eglur nag ydyw-hi heddyw.

Yr un lloer sydd yn llewyrchu y flwyddyn hon ar Ddyffryn Clwyd ag oedd yn llewyrchu filoedd o flynyddoedd yn ol ar Ddyffryn Sinar; ac os nad yw-hi yn glaerwen i gyd drosti, etto, nid oes neb yn sôn am adeg pan nad oedd ynddi rywbeth tebyg i ddŷn â baich o ddrain. A llefaru yn rhydd, y mae'r wybren heddyw yr un fath ag ydoedd yn amser yr hanesydd cyntaf a scrifennodd ar faen. Y mae'r lloer a'r sêr yn dragwyddol o'u cymharu â dŷn. Y maent hwy wedi gweled miloedd ar filoedd o genedlaethau'r ddaear yn byw ac yn marw, a gwelant etto genedlaethau lawer yn byw ac yn marw yr un ffunud. Ni all neb ddywedyd pa beth a fydd oedran, na pha beth *ydyw* oedran un seren; ond y mae yn hawdd rhifo blynyddoedd einioes y dynion sy wedi marw, a gallaf fi anturio proffwydo am agos bawb sy'n awr yn fyw na bydd raid wrth fwy na dau ffugr ar garreg eu bedd.

Y mae'r lloer a'r sêr o hyd o flaen llygaid yr Arglwydd, ond y mae dynion yn myned ymaith yn rhwydd i dir

tywyllwch a chyscod angau. Pa beth yw dŷn—dŷn brau, dŷn darfodedig, dŷn marwol?—Pa beth yw'r cyfryw ddŷn i Dduw ei gofio? Y mae dŷn yn anghofio ei gyd-ddyn; y meibion mewn amser yn anghofio'u tadau; yr wyrion yn yn anghofio'u teidiau yn llwyrach fyth, a'r gorwyrion yn myned yn gwbl ddieithr i'w hendeidiau. Os yw yn ormod gennym ni gofio'n perthynasau yn ol y cnawd, pa beth yw dŷn i Dduw i'w gofio?

Heb law hynny, y mae yn rhyfedd gan y Salmydd fod Duw yn meddwl am ddŷn, nid yn unig o blegid ei ddiwedd buan, eithr hefyd o blegid ei ddechreuad—"Pa beth yw *mab* dŷn iti ymweled âg ef?" Mab dŷn yw pob dŷn oddi gerth y dŷn cyntaf; am hynny, braidd y mae efe yn *greadur* yn ystyr priodol y gair. Ni's crëwyd ef mewn modd mor uniongyrchol ag y crëwyd y lloer a'r sêr. Dyfod i fôd trwy genhedliad naturiol a wnaeth efe. Crëodd Duw yr angylion yn uniongyrchol, ac am hynny y gelwir hwynt yn feibion Duw; ond ni chrëwyd nyni felly; am hynny meibion dynion ydym, yn hytrach na meibion Duw. "Pan gyd-ganodd sêr y bore, ac y gorfoleddodd holl feibion Duw," gallasent hwy ymffrostio eu bod yn *greaduriaid* yn ystyr uchaf y gair; am eu bod wedi dyfod o law Duw yn ddigyfrwng. Rhyw greaduriaid ail llaw ydym ni ar y gorau, bodau yn hytrach wedi'n geni nag wedi'n creu. Ac fe'n ganed ar y cyntaf nid o Dduw eithr o wraig, o waed, o ewyllys y cnawd, o ewyllys gŵr. Y mae yn wir na allaswn i ddim bod ar wahan i ewyllys a gweithrediad Duw; ond yn uniongyrchol, y mae fy modolaeth i yn dibynnu ar fodolaeth fy rhieni, a bodolaeth fy rhieni yn dibynnu ar fodolaeth fy nheidiau a'm neiniau. Mab Seth oedd Enos; mab Adda oedd Seth. Adda yn unig oedd yn fab Duw. Ië, efe yw'r unig ddŷn sy'n *greadur* Duw, yn yr un ystyr ag y mae seren neu angel yn greadur iddo. Nid rhyfedd gan hynny oedd i'r Salmydd ddy

wedyd, "Pan edrychwyf ar y nefoedd gwaith dy fysedd—gwaith a wnaethost megis â'th ddwylo dy hun—ar y "lloer a'r sêr y rhai a ordeiniaist, pa beth yw dŷn iti i'w gofio, a mab dŷn iti ymweled âg ef?" Bu yn wiw gan Dduw gofio dŷn ac ymweled â mab dŷn, ond fe wnaeth hynny nid am fod dŷn yn fawr, eithr *er* ei fod yn fach.

Yn ail. *Dyn yn greadur mawr*. Peth peryglus yw i ddŷn feddwl ei fod yn fach heb gofio ei fod yn fawr hefyd; a pheth peryglus yw iddo feddwl ei fod yn fawr heb gofio ei fod yn fach. Pe bâi efe fel yr Epicuriaid, yn meddwl mai creadur bychan yn unig yw dŷn, fe ä'i yn ddibris; a phe bâi fel y Stoiciaid yn meddwl mai mawr yn unig ydyw, fe ä'i yn falch. Y gwir ydyw ei fod yn fach mewn rhai pethau, ac yn fawr mewn pethau eraill; ac wrth ystyried ei fawredd a'i fychander hefyd y *gall* efe ddangos parch dyledus iddo'i hun, a bod yn ostyngedig ar yr un pryd. O'i gymharu â Duw ac â nefoedd Duw, y mae dŷn yn fach; o'i gymharu â'r ddaear, ac anifeiliaid y ddaear, y mae yn fawr,—"Yr holl genhedloedd sy megis diddym ger bron Duw; yn llai na dim, ac na gwagedd," y cyfrifwyd hwynt ganddo. Ond ger bron y coed a'r creigiau, nid diddym yw dŷn; ger bron anifeiliaid y maes, y mae yntau yn rhywun. Felly, ar ol dangos fod dŷn a aned o wraig yn fŷr o ddyddiau ac yn isel ei darddiad, y mae'r Salmydd yn dangos ei fod er hyny yn uchel ei sefyllfa; "canys," ebefe, yn y lle cyntaf, "ychydig îs nag Elohim y gwnaethost ti ef." Y mae'r enw Elohim, fel y gŵyr rhai o honoch, yn air pur am-mhennodol ei ystyr; ac am hynny yr ydys yn ei gyfieithu weithiau yn Dduw, weithiau yn dduwiau, weithiau yn angylion, ac weithiau yn gedyrn, yn farnwyr, ac yn swyddogion. Y mae yn debygol mai bodau dwyfol neu oruwchnaturiol a feddylir wrth y gair yn y testyn, ac felly ei fod yn cynnwys

yr angylion, ac nad yw yn cau allan Dduw ei hun; canys yr ydys weithiau yn y Beibl yn cyssylltu Duw â'r angylion, megis yn yr adnod hon: "Duw hefyd a ddywedodd, Gwnawn ddŷn ar ein delw ni, wrth ein llun ein hunain."

Fel hyn, gan hynny, y mae'r Salmydd yn ymresymmu, "Pa beth yw dŷn, sef dŷn marwol, iti i'w gofio, a mab dyn, sef dyn a aned o wraig, iti ymweled âg ef?" Braidd y mae'r cyfryw un yn haeddu dy sylw di; ac er hynny nid yw yn anweddus iti sylwi arno, canys, ychydig îs na bodau dwyfol y gwnaethost ti ef. Oni buasai mai o'r pridd y daeth ei gorff, ac mai i'r pridd y dychwel, buasai yn gyd-stad â'r angylion; ïe, rhoist arno gymmaint o'th urddas dy hun ag a ddichon creadur mor ddaearol ei ddwyn. Fe'i coronaist ef â gogoniant ac â harddwch, trwy ei wneuthur ar dy ddelw dy hun. Wrth ei goroni â pheth o'th wychder brenhinol dy hun, fe'i gwnaethost yntau yn frenin. Ac nid yn frenin yn teyrnasu ac heb lywodraethu y gwnaethost ti ef, eithr "gwnaethost iddo arglwyddiaethu ar weithredoedd dy ddwylaw; gosodaist bob peth dan ei draed ef." Y mae'r ymadroddion hyn yn arwyddo fod dŷn yn frenin nid mewn enw yn unig, eithr mewn gwirionedd. Y mae yn frenin â chanddo nid yn unig goron ar ei ben, eithr hefyd dir a deiliaid dan ei draed. Yr ydys yn galw un o frenhinoedd Lloegr yn John Lackland—yn Ieuan Ddidir. Ond nid brenin heb dir yw dŷn; y mae'r ddaear, a'r cwbl sydd ynddi ac arni, yn eiddo iddo ef. Y mae ei arglwyddiaeth ar natur yn cynnyddu o hyd; canys y mae efe yn gwneuthur yr afonydd yn llwybrau iddo, a'r cefnfor yn brifford; yn gwneuthur i'r march a'r ager a'r trydan lusco'i gerbydau; ïe, y mae fel Duw ei hun, yn gwneuthur y gwyntoedd yn gennadon iddo, a'r mellt yn weinidogion. Bron na ddywedwn ei fod ar y ffordd i fyned yn hollalluog; a pha ryfedd? onid yw yn arglwydd ar ei diriogaeth ei hun, ac onid yw yn dduw i'w

ddeiliaid? Fel y gwnaethpwyd Moesen yn dduw i Pharo, felly y gwnaethpwyd dŷn yn dduw i'r anifeiliaid. Ni ŵyr y ci am un Duw amgen na dŷn; i ddŷn y mae yn ymostwng; i ddŷn y mae yn ufuddhau; y mae efe yn addoli dŷn. Y mae agos bob anifail yn ei ofni yn fwy nag y mae pechadur yn ofni'r Duw'r Goruchaf. Gobeithio fod rhaglaw Duw ar y ddaear cyn drugarocced wrth yr anifeiliaid ag ydyw yr Arglwydd Dduw wrth ddynion. Fe ddarostyngir rhai yn y byd a ddaw yn unig o blegid iddynt dra-arglwyddiaethu yn y byd hwn.

Y mae anffyddwyr yn edliw fod y Beibl yn tradyrchafu dŷn, ac yn gwneuthur y ddaear yn ganolbwynt y greadigaeth. Y maent hwythau yn barod i ddywedyd, "Pa beth yw dŷn i ti i'w gofio, a mab dŷn iti ymweled âg ef?" Pa beth, meddant, yw'r ddaear y mae dŷn arni? Un o'r lliaws aneirif o sêr sydd ar wascar yn y gwagle diderfyn—seren nad yw yn ymddangos o'r haul nesaf attom gymmaint a'r iot sydd uwch ben y llythyren *i* yn y Beibl lleiaf, a seren nad yw yn weladwy o gwbl o heuliau pellach. Tybed y bu yn wiw gan Dduw fyned allan o'i ffordd i ymweled â byd sy megis brycheuyn ynghanol y ffurfafen? Pa beth yw dŷn iddo ef ymostwng atto? Wel, yr ydym ninnau yn gofyn yr un cwestiwn; ond nid ydym yn rhoi iddo yr un atteb a hwynt-hwy. Yr ydym yn ddiolchgar iddynt am ddadguddio ini fod y greadigaeth mor fawr; ac y mae yn ddrwg, ac yn gywilyddus gennym, ddarfod i Gristionogion arteithio a llosci cynnifer o ddoethion am ddywedyd nad yw'r Beibl yn dyscu seryddiaeth.

Ni fynnwn ni daeru mwyach mai'r ddaear yw'r byd, ac nad yw'r haul a'r lloer a'r sêr ddim ond llusernau a grogwyd yn y nen i'w oleuo. Ni fynnwn chwaith daeru mai'r ddaear yw'r byd mwyaf, na'r byd canol; dywedyd yn unig a wnawn fod ein byd bach ni yn fyd pwysig, a bod ei breswylwyr yn greaduriaid pwysig. Pa ham yr ydys yn

barnu pwysigrwydd bydoedd wrth eu maint a'u sefyllfa mwy nag yr ydys yn barnu pwysigrwydd gwledydd wrth hynny? Gwlad fach oedd gwlad Israel—rhy fach i gynnwys defaid ambell Americaniad; er hynny o honi hi y daeth y proffwydi a'r Iachawdwr a'r apostolion. Gwlad fechan oedd gwlad Groeg hefyd; er hynny ni fagodd un wlad gynnifer o ddynion dawnus a medrus ag a fagodd hi. Ni feiddiaf fi ddywedyd mai'r ddaear yw'r byd pwysicaf ynghreadigaeth Duw, ond yr *ydwyf* yn beiddio dywedyd ei fod yn fyd y bu yn wiw gan y Creawdr ymddori ynddo, a chofio'i drigolion mewn modd arbennig. Yr oedd efe o'r dechreuad yn llawenychu ynghyfaneddle'r ddaear, a'i hyfrydwch oedd gyd â meibion dynion,

"Pan y gelwid yn y bore,
 Restr enwau sêr y nen,
Deuent oll, dan ganu a dawnsio
 Heibio i'r orseddfaingc wen;
Yn ei thro, ym mhlith y lliaws,
 Ymddangosai'n daear ni,
Cododd gwrid i wyneb cariad
 Dwyfol, pan y'i gwelodd hi."

Er hynny oblegid ei pherchennog ac nid o'i phlegid ei hun yr aeth y ddaear yn werthfawr yngolwg yr Arglwydd. Y mae'r ddaear yn fwy o lawer na dyn; er hynny, y mae dŷn yn bwysicach na'r ddaear; ïe, y mae dŷn yn bwysiccach na'r byd materol i gyd oll, am ei fod ef yn greadur sy'n meddwl. Er lleied o beth ydwyf yn y byd, etto, yr ŵyf fi â'm meddwl yn ei amgyffred ac yn ei gynnwys ef. "Duw," medd y Pregethwr, "a osododd y byd ynghalonnau meibion dynion." Y mae amser a lle dan fy nhraed i; ac yr ŵyf yn fynych yn gormesu ar dragwyddoldeb ei hun. Gallaf fi synio nid yn unig am bethau y sydd, eithr hefyd am bethau a fu ac a fydd; ïe, am bethau na buont erioed, ac na byddant byth. Yr ŵyf fi yn wybodusach na'r holl

fyd, canys gwn i rywfaint am dano ef, ond ni ŵyr efe ddim am danaf fi. Nid yw'r byd yn meddwl am ddŷn. A oes rhywun yn meddwl am dano? Oes, y mae'r Creawdr yn meddwl am dano; y mae yn ei gofio ac yn ymweled âg ef bob bore. Ac y mae nid yn unig yn ymweled âg ef i roddi bwyd iddo, ond ymwelodd âg ef unwaith i roddi bywyd iddo, wedi iddo'i golli. Arglwydd ein Ior, pa beth yw *pechadur* o ddŷn iti i'w gofio, a mab pechadur iti ymweled âg ef? Pa ham yr ymwelaist â dŷn a'i dinistriodd ei hun, a'i gwaradwyddodd ei hun, ac a'th waradwyddodd dithau? Os oedd dy dosturi tu ag atto yn gryfach na'th ddigofaint, pa ham na bu yn ddigon gennyt ddanfon dy gofion atto yn llaw angel, heb ymboeni i ymweled âg ef yn dy berson dy hun? Pa ham y cymmeraist agwedd gwas—gwas o angel, er mwyn ymweled âg ef ym morau amser? Pa ham y'th wnaed mewn cyffelybiaeth dynion yn amser y patriarchiaid? Pa ham y'th gafwyd mewn dull fel dŷn *ynghyflawnder* yr amser? Pa ham, ar ol dy wneuthur yn ddŷn, y darostyngaist dy hun trwy fod yn ufudd, yn ufudd hyd angau, ïe, angau'r groes? Pa ham y discynnaist, i lawr, i lawr, i barthau isaf y ddaear? Onid oedd raid? onid oedd raid dioddef er mwyn boddloni fy nghariad? Onid oedd yn weddus profi marwolaeth er mwyn boddloni cyfiawnder? Onid oedd cofio dŷn yn fy nghymmell i ymweled âg ef, a pha fodd y gallwn ymweled âg ef heb ymddarostwng?

Pa beth bynnag ydyw dŷn, y mae Duw *wedi* ei gofio, ac wedi ymweled âg ef; a chan iddo ymweled âg ef er mwyn ei adferu a'i ddyrchafu, gellir gofyn, bellach, Beth nad yw dŷn? Beth nad yw'r dŷn sy'n anwylyd y Tad, yn bwrcas y Mab, ac yn deml yr Yspryd? Y mae'r dyn newydd hwn eisioes yn gyfrannog o'r ddwyfol natur; ac os ydyw etto ychydig îs na'r angylion, fe'i gwneir yn y-man yn gydstad â'r angylion. Y mae yn anodd dywedyd pa beth *ydyw*

dŷn o'r fath yma, ac y mae yn fwy anodd fyth ddywedyd pa beth a fydd:—"Yr awr hon, plant i Dduw ydym, ac nid amlygwyd etto beth a fyddwn, eithr ni a wyddom pan amlyger ef y byddwn gyffelyb iddo, o blegid ni a gawn ei weled ef megis ag y mae."

## XVI.

### Y DDWY ALWEDIGAETH.

"*Cyfrannogion o'r galwedigaeth nefol.*"—HEB. III. 1(B).

ER mai galwad y mae'r gair galwedigaeth yn ei feddwl yn gyffredin yn y Testament Newydd; etto, y mae achos i farnu fod iddo yn yr adnod hon, fel mewn rhai adnodau eraill, ei ystyr arferol a phriodol. Boed a fyddo, dyma'r ystyr yr ydys yn ei roddi i'r gair mewn amryw eiriaduron o radd uchel; a dyma'r ystyr yr wyf finnau yn bwriadu ei roi i'r gair Cymraeg sy'n gyfieithiad o hono. Y mae'r gair Saesneg, fel y gair Groeg ei hun, yn amwys; gan ei fod weithiau yn arwyddo galwad, ac weithiau yn arwyddo galwedigaeth. Y mae'r ddau air Cymraeg, o'u harfer yn briodol, yn gwbl ddiamwys; am hynny, y mae yn resyn fod y cyfieithwyr wedi arferyd y gair galwedigaeth mor fynych yn lle galwad. Hwyrach mai barnu yr oeddynt, gan fod y gair anghyfiaith yn amwys y dylasai'r gair cyf-iaith hefyd fod yn amwys; ond yn erbyn y rheswm hwn fe ellir dyweyd nad ydoedd galwedigaeth ddim yn air amwys cyn iddynt hwy ei wneuthur felly, ac nad yw etto mor amwys a'r gair Saesneg *calling*. Gan nad beth am hynny, derbyn a wnaf fi dystiolaeth y rhai sy'n dywedyd mai galw-edigaeth yn ystyr priodol y gair yw meddwl "galwedig-aeth" yn yr adnod hon, ac nid galwad fel y mae eraill yn dywedyd. Gwyddoch mai'r weithred o alw yw galwad, ac mai'r gwaith neu'r swydd y bo dyn wedi ei alw iddo neu iddi, yw galwedigaeth. Fe fu galwad, ar bob dyn a'r sy mewn galwedigaeth gyfaddas; ac am ei fod ef yn wr galwedig yr ydys yn galw ei waith yn alwedigaeth. Nid

yw pob crefft ddim yn alwedigaeth; am fod llawer gwaith llaw mor gyffredin a hawdd i'w ddyscu, fel y gall dyn ei wneuthur mewn modd peiriannol, heb ei alw. Gwaith y bo natur wedi donio dyn i'w wneuthur sy'n haeddu'r enw galwedigaeth. O'r tu arall, y mae llawer un mewn galwedigaeth am ei fod wedi ei wthio iddi, neu wedi *ym*-wthio iddi, ac nid am ei fod wedi ei alw—i'r alwedigaeth honno, beth bynnag; ac am hynny, y mae Duw neu ddynion neu natur neu rywbeth, megis yn gofyn iddo yn synnedig, "Y cyfaill, pa fodd y daethost ti yma?" Nid oes dim mwy cyffredin yn y byd na bod dynion, er mwyn elw neu enw, neu o herwydd dylanwad perthynasau neu amgylchiadau, yn ymgymmeryd â galw-edigaeth na ddoniwyd monynt iddi, ac felly na ellir disgwyl iddynt ragori ynddi. Y mae llawer un wedi myned yn feistr y buasai yn well iddo aros yn was; a llawer un yn gwisco cadach gwyn y buasai yn well iddo wisgo ffedog wen. Yr oeddwn i, pan yn laslangc, yn meddwl y gallaswn wasanaethu fy nghenedlaeth trwy scrifenu epistolau yn well na llawer o ddynion anys-prydoledig; ond gan nad oedd ar Gymru ddim eisiau epistolwr, fe gymhellwyd arnaf i fyned yn bregethwr.

Y mae yn bwysig i ddyn fynnu gwybod i ba alwedig-aeth y'i galwyd, am mai yn yr alwedigaeth ddaearol fwyaf cyfaddas iddo y gall efe yn orau gyflawni gwaith yr alwed-igaeth nefol. Os bydd dyn mewn rhyw swydd a fo yn anghyfreithlon, neu yn rhy anweddus, i haeddu ei galw yn alwedigaeth, y mae yn annichon iddo fod yn gyfrannog o'r alwedigaeth nefol yn y swydd honno. Os bydd dyn mewn galwedigaeth o'r fwyaf buddiol, ac yntau heb ei gymhwyso iddi gan natur, y mae yn anawdd iddo, hyd yn oed yn honno, ragori yn yr alwedigaeth nefol. Y mae yn methu yn y naill yn unig am ei fod yn methu yn y llall. Bydd yn ddiflas gennyf fi annog pobl eraill i aberthu mwy er mwyn

crefydd nag yr wyf fi fy hun yn barod i'w aberthu; ond fe oddefir imi ddywedyd mai gresynus o beth yw fod cyn lleied yn newid eu galwedigaeth ddaearol, er mwyn ymberffeithio yn yr alwedigaeth nefol. Y mae llawer yn addef nad oes ganddynt hwy ddim amser i hyfforddi eu plant yn addysc ac athrawiaeth yr Arglwydd—dim amser i addoli Duw nac yn eu tai eu hunain nac yn yr addoldy, oddi gerth ar ddyddiau gwyl. Pa beth amgen yw hynny na dywedyd fod y gwaith yn feistr ar y gweithiwr, ac nid y gweithiwr ar y gwaith—fod y fasnach yn feistr ar y masnachwr, ac nid y masnachwr ar y fasnach. "Gallaf fi wasanaethu Duw," medd rhywun, "trwy fod yn onest ac yn ddiesceulus yn fy ngorchwyl." Gelli, mewn rhan, ond nid yn berffaith, nac yn agos i berffaith; canys y mae mewn crefydd rywbethau amgen na gonestrwydd a diwydrwydd: y mae ynddi ffydd a gobaith a chariad, a duwiolfrydedd. Heb garu Duw, ni elli mo'i wasanaethu o gwbl. Os wyt yn ei garu mynni ei addoli; ac ni elli mo'i addoli heb ddarllen am dano, heb feddwl am dano, ac heb weddïo arno; ac y mae'r pethau hyn oll yn gofyn amser neillduol i'w gwneuthur. Os wyt yn gwneuthur pob gorchwyl a berthyno i'th alwedigaeth ddaearol megis i Grist, ac er gogoniant Duw Dad; os wyt, wrth drefnu dy arian, yn ceisio'r eiddo Crist Iesu, ac nid yr eiddot dy hun; os wyt, wrth brynnu a gwerthu, yn ceisio llesâd llaweroedd, ac nid llesâd dy deulu yn unig, yr wyt cyn belled a hynny yn gwasanaethu'r Arglwydd; ond tu ag at wasanaethu'r Arglwydd yn dda, y mae yn rhaid iti ei wasanaethu nid yn unig *yn* dy alwedigaeth, ond hefyd y tu allan i'th alwedigaeth; canys er fod yr alwedigaeth nefol yn ymgordeddu â'th alwedigaeth ddaearol, etto, y mae honno yn eangach o lawer na hon. Er engraifft, ni elli gymdeithasu â Duw tra yn brysur gyd a'th orchwylion daearol, mwy nag y gelli gymdeithasu â

pherthynas neu gyfaill iti. I gymdeithasu â Duw, rhaid iti roi heibio dy orchwyl cyffredin, a myned i'th stafell, a chau dy ddrws, rhag i leisiau'r greadigaeth foddi llais y Creawdr. Ni thycia gwasanaethu Duw yn y stafell weithio heb gymdeithasu âg ef yn y stafell ddirgel. Pa wr a feiddiai ddywedyd ei fod yn cyflawni ei holl ddyledswydd tu ag at ei wraig wrth weithio erddi, oni byddai yn wiw ganddo gymdeithasu â hi? Pob parch dyledus i'r gweithwyr a'r masnachwyr cyfiawn y sydd ar y ddaear; ond o! na byddent ddefosiynol hefyd. Nid ynt hwy neppell oddi wrth deyrnas Dduw; y maent yn nes o lawer i'r deyrnas na'r rhai sy'n ddefosiynol heb fod yn gyfiawn; ond y mae arnaf ofn eu bod hwythau yn ddigon pell oddi wrthi i'w cholli. Pa beth a ddywed y Barnwr wrth y rhai sy'n ddefosiynol heb fod yn gyfiawn? "Ewch oddi wrthyf, chwi weithredwyr anwiredd." Pa beth a ddywed e wrth y rhai sy'n gyfiawn ac heb fod yn ddefosiynol? "Nid adnabûm chwi erioed." Ni ddaethoch yn ddigon agos attaf fi imi allu'ch adnabod.

Y cyfeiliornad mwyaf cyffredin yn yr amser a aeth heibio oedd tybied fod dyledswyddau'r alwedigaeth nefol yn gwbl wahanol, os nad hefyd yn wrthwynebol, i ddyledswyddau galwedigaethau daearol. Erbyn hyn, yr ydys yn tueddu i wyro i'r cyfeiriad gwrthwyneb, trwy farnu fod dyledswyddau yr alwedigaeth ddaearol y bo dyn ynddi yn cynnwys holl ddyledswyddau yr alwedigaeth nefol. Yr oedd yr hên grefyddwyr yn edrych ar y ddwy alwedigaeth fel dwy linell yn ymwahanu oddi wrth eu gilydd neu ynte yn croesi eu gilydd. Y mae crefyddwyr presennol, yn enwedig Protestaniaid Lloegr, yn edrych arnynt fel dwy linell gyfochrol; ac mor gyfagos fel y mae'r ddwy yn rhedeg i'w gilydd, gan wneuthur un llinell ogyhyd. Yn hyn o beth yn unig, dybygaf fi, y mae'r *dosparth* hwn yn cyfeiliorni: sef yn eu bod yn barnu

nad yw'r naill linell ddim hŵy na llettach na'r llall; ac y mae hwn yn gyfeiliornad pwysig. Y mae'r crefyddwr yn ddyn da, yn fasnachwr da, yn weithiwr da; ond y mae yn rhywbeth amgenach hefyd: y mae yn ddyn duwiol, yn ddyn â'i ymarweddiad yn y nefoedd. Y mae galwedigaeth ddaearol, ac y mae galwedigaeth nefol; ac er fod y nefol yn cynnwys yr un ddaearol, nid yw'r un ddaearol yn cynnwys y nefol. Y mae yn perthyn i grefydd ddyledswyddau chwanegol a neillduol; ac y mae y rhain wedi eu bwriadu i'n dyscu mai crefydd yw'r alwedigaeth oruchaf; ond y mae hi yn oruchaf am ei bod yn cynnwys pob galwedigaeth ddaearol, a'r sydd heb fod yn anghysson â hi ei hun. Y mae hi yn uwch na phob galwedigaeth arall fel y mae'r nef yn uwch na'r ddaear, sef am ei bod yn amgylchu'r ddaear—yn uwch na hwynt, am ei bod fel yr awyr, yn gordoi'r ddaear, ac yn anadl einioes ym mhob creadur byw. Os oedd y rhai gynt yn gwyro trwy synio yn rhy isel am alwedigaethau daearol, y mae y rhan fwyaf yn awr yn gwyro i gyfeiriad arall mwy peryglus; canys y maent yn ymroddi cyn llwyred i'w galwedigaeth ddaearol a phe na bâi galwedigaeth nefol yn bod. Yn lle ceisio teyrnas Dduw, yr hon sy'n ymledu dros y byd hwn a'r byd arall, ceisio y maent y byd hwn yn unig, heb feddwl nemmor am y byd a ddaw, nes eu gwthio iddo gan angau. Peidiwn â meddwl, fel yr hên Fethodistiaid, a'r Puritaniaid, a dosparth o'r Catholigion, mai'r tu allan i gylch ein galwedigaeth ddaearol y gallwn fyw yn dduwiol; a pheidiwn â meddwl, fel y rhan fwyaf o Brotestaniaid Lloegr a'r Cyfandir, mai yn unig o fewn y cylch hwnnw y gallwn fyw yn dduwiol. Wrth grybwyll am ddosparth o'r Catholigion, cyfeirio yr wyf at y meudwyaid ac nid at y mynachod; canys yr oedd gan fynachod yr Oesoedd Canol syniad pur gywir am berthynas galwedigaethau daearol â'r un nefol. Er eu bod yn ymgilio oddi wrth y byd, nid oedd-

ynt yn ymwrthod â galwedigaethau'r byd; canys yn y mynachlogydd y dyscid llawer o'r galwedigaethau. Ynddynt hwy, a'r ychydig athrofeydd a oedd draw ac yma, y cyfrennid hynny o addysc a oedd i'w chael y pryd hwnw. Y mynachod oedd yn diwyllio'r tiroedd diffaith; yn cadw'r scrythyrau a'r clasuron rhag myned ar goll, trwy eu copïo a'u lledaenu; ar air, hwynt-hwy a fu yn offerynau i arbed crefydd a llenoriaeth a gwareiddiad rhag ymfoddi yn y diluw o farbariaid a ddaeth dros Orllewin Ewrop. Ond yr ydoedd mynachlogydd, yn enwedig yn y Dwyrain, lle y byddai pechaduriaid edifeiriol yn ymgladdu ynddynt, heb wneuthur dim amgen na myfyrio, gweddïo, a chospi eu cyrff. Na atto Duw i mi gondemnio y rhai'n chwaith; canys fe ddichon mai gwerthu eu meddiannau, a'u rhannu i'r tlodion, a byw mewn neillduaeth, a chywilydd wyneb, a phenyd, dros weddill eu hoes, yw'r gwaith gweddusaf i ryw fath o bechaduriaid; ond hyn a ddywedaf: nid oes dim dyled ar bawb, na hyd yn oed ar y rhan fwyaf, i ddangos eu crefydd trwy ymwadu â'u holl feddiannau, a llwyr ymwrthod â'u galwedigaethau. Nid oedd yr Hen Fethodistiaid a'r Puritaniaid ddim yn *gweithredu*, y mae yn wir, fel y meudwyaid a rhai o'r mynachod, ond yr oeddynt yn *synio* fel hwythau; canys yr oeddynt yn cyfrif fod galwedigaeth ddaearol yn hytrach yn rhwystr nag yn gyfleusdra i ddilyn yr alwedigaeth nefol. Yn eu barn hwy, yr oedd crefydd yn gynnwysedig yn unig mewn darllen y Bibl a gweddïo a gwrandaw pregethau. Ar y Suliau, ac yn eu horiau hamddenol, yr oeddynt hwy yn synio eu bod yn crefydda. Nid oeddynt yn cydnabod dim yn grefyddol os na byddai a wnelai efe rywbeth â'r addoldy; ac adeiladau anghelfydd ac anolygus iawn oedd eu haddoldai hefyd. Yn wir, yr oeddynt yn condemnio adeiladau costus a gwych, yn condemnio offer cerdd, ac yn diystyru pob trefnusrwydd a gweddusder yn eu gwasanaeth cref

yddol. Ac yr oedd eu diffyg chwaeth mewn pethau crefyddol yn peri eu bod yn ddichwaeth mewn pethau eraill hefyd; canys er pan ymdaenodd Puritaniaeth yn y wlad hon y mae celfyddyd wedi ymddirywio cymmaint ynddi. Pa ham, er engraifft, y mae tai Prydain, mewn tref a gwlad, gymmaint mwy cyffredin yr olwg na thai'r Cyfandir? Am fod y ffurf Buritanaidd a fu ar grefydd y Prydeiniaid wedi eu dyscu i fod yn wrthwynebol i adeilyddiaeth, a phob un o'r celfau cain eraill. Y cadarn ac nid y cain; y buddiol ac nid y prydferth, sy'n gymmeradwy ym Mhrydain, er ys talm bellach; er y rhaid addef fod cariad ar y prydferth a'r gweddus wedi ymadfywio llawer yn ddiweddar. Y mae'r cyfundebau efengylaidd yn credu fod llef yr Arglwydd mewn grym; ond y cyfundebau iawngred, fel yr ydys yn eu galw, sy'n credu y rhan olaf o'r adnod: "Llef yr Arglwydd sydd mewn prydferthwch." O blegid hyn, y mae yn well gan y dosparth blaenaf ymdroi wrth odre mynydd Sinai i wrandaw ar Dduw yn taranu â'i lais o ganol y mwg a'r mellt; ac y mae yn well gan y dosparth olaf gerdded rhagddynt, ac escyn i ben un o'r mynyddoedd y sy'n amgylchu Caersalem, i glywed swn yr awel yn mrîg yr olewydd. Bai mawr y dosparth efengylaidd, neu'r Puritaniaid, yw gwneyd dechrau crefydd yn ddiwedd crefydd. Y mae yn fwy ganddynt hwy gael eu hargyhoeddi na'u hyfforddi a'u perffeithio. Ymdroi y maent gyd âg edifeirwch a ffydd yn lle myned rhagddynt at berffeithrwydd, sef at gariad, yr hwn yw rhwymyn perffeithrwydd; ac nid yw'r cyfryw gariad yn ddim amgen na syniadau a chydymdeimlad mwy eang. Mynnent hwy weled diwygiad bob saith mlynedd, a chael eu hachub bob dydd; am fod yn hyfryd ganddynt gael rhywbeth i'w cyffroi; ond sychlyd o beth yn eu golwg fyddai crefydd a'u dyscai i ddywedyd y gwir bob un wrth ei gymmydog, ac i ddarparu pethau onest yngolwg pob dyn. Pan y

bwyf fi yn prynnu papur newydd, ni byddaf byth yn mynnu gwerth fy ngheiniog trwy ddarllen y cwbl a fo ynddo; ond yn ddiweddar bûm yn ddigon segur i ddarllen hanes rhyw wr o'r Americ, a oedd wedi cael cymmaint o flas ar briodi rhyw ferch, fel y mynnodd ei phriodi lawer gwaith drosodd. Nid oedd hwnnw ddim ffolach na llawer o'r crefyddwyr yr wyf yn awr yn sôn am danynt; canys yn lle byw i Grist, y maent yn ei briodi drachefn a thrachefn, a hynny yn llawer, er mwyn y wledd briodas a'r miri priodasol; a chan eu bod o hyd yn eu gwisc briodas, y maent yn rhy fisi i gynnau tân, i yscubo'r aelwyd, i ddarparu swpper â'u dwylaw eu hunain, ac i fyned i agoryd y drws pan fo'u priod Iesu yn curo wrtho. Y maent, fel y colommennod, yn lân eu plu, ond yn aflan eu ty. A pheidio â llefaru ar ddammeg, y mae'r crefyddwyr hyn yn colli golwg ar y moesol yn yr ysprydol. Y mae ganddynt ddwy alwedigaeth; a'r ddwy hynny nid yn gylch mewn cylch, eithr yn ddau gylch ar wahân. Ond y gwaethaf ydyw fod ganddynt ddau feistr hefyd; canys Duw yw eu meistr yn yr alwedigaeth nefol, a Mammon yw eu meistr yn yr alwedigaeth ddaearol.

Pa fodd y gallwn wasanaethu yn dda yn y ddwy alwedigaeth—y nefol a'r ddaearol? Trwy wasanaethu un Arglwydd. Trwy ddymuno yn galonnog ar i Dduw wneuthur ei ewyllys ar y ddaear fel yr ydys yn ei gwneuthur yn y nef. Trwy fwytta ac yfed, gweithio a masnachu megis i Grist, ac er gogoniant Duw Dad. Trwy ddywedyd ynom ein hunain, os nad yn uchel, pan y'n temtier gan ddyn neu ddiafol i geisio'n llesâd ein hunain: "Oni wyddoch fod yn rhaid i mi fod ynghylch y pethau a berthyn i'm Tad?" Pa fodd y gallaf wneuthur y mawr ddrwg hwn, y fargen annheg hon, y gwaith salw hwn, a phechu yn erbyn Duw? Oni wyddoch mai gwaith Duw yw fy ngwaith i, ac mai'r Arglwydd Iesu yw golygwr y ty? Oni wyddoch

ei fod ef bob dydd yn chwilio fy nghyfrifon, ac y dengys hwynt yn y dydd diweddaf ar goedd byd?

Gyfeillion, yr ym yma yn cyffesu ar air a gweithred mai Duw a'n piau heddyw. Pwy a'n pioedd ddoe? pwy a'n pieufydd yfory? Neithiwr ceuasoch eich siopau, a rhoisoch heibio bob crefft a gorchwyl er mwyn gwasanaethu Duw heddyw yn ei dy. A agorwch chwi'ch siopau yfory'r bore er mwyn parhau i wasanaethu Duw, mewn dull gwahanol? A godwch chwi o'ch gwelyau i drin y nodwydd a'r mynawyd, y llif, y rhaw a'r crymman, gan benderfynu eu trin, nid â llygad-wasanaeth, fel boddlonwyr dynion, eithr mewn symlrwydd calon, yn ofni Duw? Wrth eu trin yn yr yspryd hwn, ac i'r amcan hwn, fe'u troir yn arfau ysprydol, â'r rhai y gellwch ymosod ar elynion ysprydol. Yn eich llaw chwi, fe dry'r nodwydd yn waewffon, a'r crymman yn gleddyf, â'r rhai y gellwch glwyfo'r diafol ei hun; canys wrth arfer y pethau hyn yn ofn Duw, ac yn enw Crist, yr ych yn gwasanaethu Crist; ac os efe yr ych yn ei wasanaethu, ganddo ef y derbyniwch daledigaeth. Os gwasanaethu dynion yn unig yr ych, yna yr ych yn cael gormod o dâl ganddynt am eich gwasanaeth. Os ych yn gwasanaethu Crist wrth wasanaethu dynion, yna yr ych yn cael rhy ychydig o dâl. Cyfrifwch yr hyn a gaffoch ganddynt hwy yn unig fel ychydig o arian trâul i aros y daledigaeth a gewch yn adgyfodiad y rhai cyfiawn. Ai cwyno yr ych fod y tâl am hyn a'r llall yn rhy fychan? Os aroswch ennyd bach, cewch etifeddiaeth yn daledigaeth am wasanaethu Arglwydd y nef.

*Bvw yn dduwiol yn alwedigaeth*—hynny yw fy mhwngc i o'r dechrau, a hynny a fydd e i'r diwedd.

Ped edrychem ar grefydd yn alwedigaeth, a phed ymroddem i ymberffeithio ynddi, fel yr ym yn ymroddi i ymberffeithio mewn galwedigaethau eraill, byddai'n cynnydd

yn amlyccach a'n llwyddiant yn sicrach o lawer. Ac yn hon yn anad un y dylem ymegnïo; o blegid hon yw'r alwedigaeth bwysicaf a pharchusaf, am mai hyhi yw'r uchel alwedigaeth; a hon yw'r alwedigaeth dragwyddol, am mai hyhi yw'r alwedigaeth nefol. Y mae ôl bysedd pechod, a nodau'r cwymp, ar bob galwedigaeth oddi gerth hon yma. Trin tir yw'r gwaith hynaf o bob gwaith; ond ni fuasai dim rhaid wrth yr holl lafur blin a'r pryder y sy 'nglŷn â hyn o waith pe na felldithiesid y ddaear o achos camwedd dyn. Celfyddyd barchedig a buddiol yw meddygaeth; ond nid rhaid i'r rhai iach wrth feddyg; ac iach a fuasai pawb pe na phechasent yn eu tad cyntaf. Afreidiol a fuasai rheithofyddiaeth, sef gwybodaeth o'r gyfraith, pe na buasai ymrafaelion; ac ni buasai dim ymrafaelio pe buasai pawb yn gyfiawn. Hyd yn oed yn awr, fe ddarfyddai am gyfreithwyr o'r tir, pe bâi Cristionogion yn ddigon Cristionogol i wneuthur y bregeth ar y mynydd. Ie, âi fy swydd innau, sef gweinidogaeth y gair, yn un pur anfuddiol pe na bâi pechaduriaid i'w hargyhoeddi, a saint ammherffaith i'w hyfforddi. Yn wir, ni wn i am un alwedigaeth ddaearol nad yw yn bod naill ai o herwydd pechod, neu ynte o herwydd canlyniadau pechod. Gwreiddyn drwg sydd i'r holl gelfyddydau; a chan mai hwynt-hwy sy'n hyrwyddo gwareiddiad, ni all fod gwareiddiad ei hun yn ddilychwin. Pwy oedd tadau'r celfyddydau, a hyrwyddwyr cyntaf gwareiddiad? Meibion dynion, ac nid meibion Duw; rhai o deulu Cain ac nid rhai o deulu Seth. Pwy oedd sylfaenydd y ddinas gyntaf? Cain ei hun, a hynny ar ol llofruddio'i frawd a'i felldithio gan Dduw. Pwy oedd tad pob preswylydd pabell a pherchen anifail? Iabal, un o eppil Cain. Pwy oedd tad pob teimlydd telyn ac organ? Iwbal, brawd Iabal. Pwy oedd tad y celfyddydau buddiol, sef pob cywreinwaith pres a haearn? Tubal-Cain. Wrth ddywedyd ar bwys y Bibl fod y celf-

yddydau o'r drwg, ac o ddynion drygionus, ni fynnwn i awgrymmu fod y celfyddydau eu hunain yn ddrwg. Gall blodau teg darddu o dommen ffiaidd. Yr un ffunud, er fod meddwl plant y byd hwn yn llygredig, gall llawer o gynnyrchion y meddwl hwnnw fod yn ddymunol iawn. Os olrheiniwn y celfyddydau i'w dechreuad cyntaf, fe welwn mai'r Creawdr yw eu tad, ac nid neb o'i greaduriaid; canys efe yw ffynhonnell pob peth sy dda. "Duw, cariad yw;" am hynny efe a ysprydolodd hiliogaeth Seth i'n dyscu pa fodd i fod yn ddedwydd yn y byd a ddaw. Eithr, y mae yn scrifennedig hefyd mai "Goleuni yw Duw;" am hynny efe a ysprydolodd hiliogaeth Cain i'n dyscu pa fodd i fod yn gyssurus yn y byd hwn. Efe yw Duw ein hiachawdwriaeth; ïe, efe, yn y pen draw, yw Duw gwareiddiad hefyd. Ond os Duw yw ffynhonnell y celfyddydau efe yw eu diben hefyd; am hynny dylid ymarfer â phob gorchwyl er ei ogoniant ef. Oni wnawn hynny, erys pob galwedigaeth ddaearol yn anianol, ac ymdry yn rhywbeth gwaeth nag anianol. Yr alwedigaeth nefol sy'n santeiddio'r alwedigaeth ddaearol. Cyffelyb yw galwedigaeth ddaearol i'r llen-lliain fawr a welodd Pedr, yn yr hon yr oedd pob rhyw bedwar-carnolion, gwylltfilod, ymlusciaid, ac ehediaid. Fel y gorchmynnodd Duw i Pedr fwytta y rheini, felly y mae yn gorchymmyn i bob dyn ymarfer â'i alwedigaeth ddaearol, ac aros ynddi, er cyffredined y bo hi; canys y pethau a lanhaodd Duw, na alwed dŷn monynt yn gyffredin. Ai eiddo'r Cenedloedd yw llên, celf, a gwŷdd? Gwneled pobl Dduw hwynt yn eiddo iddynt eu hunain. Yspeilier yr Eifftiaid o'u tlysau a'u gwiscoedd gwychion; canys, er nad yw'r pethau hyn ond ffrilion ac addurniadau ofer yn eu dwylaw hwy, etto, yn nwylaw Israel Duw, gellir eu cyssegru i harddu pabell y Brenin mawr.

Pa bethau y rhaid i ddŷn wrthynt tu ag at lwyddo yn yr

alwedigaeth nefol? Yr un pethau yn union ag y rhaid iddo wrthynt tu ag at lwyddo yn ei alwedigaeth ddaearol, sef tueddfryd, astudiaeth, ac ymarferiad; neu, mewn geiriau eraill, teimlad, gwybodaeth, a gwaith. Dyma dri anhebgor llwyddiant ym mhob galwedigaeth. Os nad wyf yn enwi dau beth arall yr ydys yn eu cyfrif yn anhebgorion, sef dawn ac ymroddiad, y mae hynny o herwydd fod dawn yn gyssylltiedig â thueddfryd, ac ymroddiad yn gyssylltiedig â thueddfryd. Tueddfryd yw'r anhebgor cyntaf; ac y mae tueddfryd, fel yr awgrymmwyd eisoes, yn rhagdybio dawn; canys lle bynnag y bo tueddfryd cysson at ryw waith neillduol, y mae yno fesur o ddawn hefyd i wneuthur y gwaith hwnnw. Pe dywedwn fod ym mhob dŷn ddawn a thueddfryd i fyw yn dduwiol, cyfeiliorni a wnawn; ac efallai na chyttunai pawb â mi pe dywedwn fod gan bob dŷn ddawn i fod yn *grefyddol;* ond nid oes neb yn ammau fod ym mhob dyn dueddfryd crefyddol. Yr ydys yn addef fod dyn wrth natur yn greadur addolgar; yn gymmaint felly fel mai anifail crefyddol yr oedd rhai o'r paganiaid eu hunain yn ei alw. Y mae rhai, yn wir, yn haeru fod llawer o gynfrodorion Ostralia, ac o amaethwyr a llafurwyr Lloegr, mor anianol ac anneallus fel y mae yn annichon iddynt synio am Dduw, chweithach ei addoli; ac mai ofer fyddai i Dduw na dyn geisio'u haddyscu hwy na'u plant na phlant eu plant, am nad oes ganddynt fawr o enaid i fennu arno. Ac, yn wir, wrth edrych ar wynebau anianol, a llygaid pwl y porthmyn Seisnig a fydd yn dyfod i ffeiriau Cymru, y mae yn anawdd meddwl eu bod nemmor mwy crefyddol na'r bustych y maent yn eu prynnu a'u gwerthu. Er hynny, y mae eu bod yn medru *siarad* am fustych a lloi a lleuad llawn, ac ychydig o bethau eraill, yn profi fod ganddynt dippyn o enaid; ac y mae eu bod yn addoli rhywun neu rywbeth yn dangos eu bod yn ddigon addolgar i gael eu galw yn anifeiliaid crefyddol. Os nad

ŷnt yn addoli Duw, gellwch fod yn sicr eu bod yn addoli eu hunain, neu Tom Sayers y paffiwr, neu Fred Archer y marchogwr, neu ryw wron tebyg; ac y mae eu bod yn addoli duwiau bvchain bach o gnawd yn arwyddo y gallesid eu dyscu, pe cawsid gafael arnynt yn ddigon ieuangc, i addoli'r Duw mawr ysprydol. Y mae yn ddiammau fod gan bob dŷn ddigon o dueddfryd crefyddol i'w wneyd yn ddiescus am beidio â byw yn dduwiol. A chofier hefyd fod gan ddŷn lywodraeth ar ei dueddiadau; canys trwy ei ymddygiad, gall efe naill ai eu cryfhau neu ynte eu gwanhau. "Nid oes gen i," medd ambell un, "ddim tuedd at grefydd: y mae gweddïo a darllen a gwrandaw'r gair yn ddiflas gennyf." Dïau dy fod yn dywedyd y gwir; ond oni fu gennyt rywbryd rywfaint o duedd; ac os bu, pa fodd y'i collaist? Onid trwy ei gwrthwynebu; ac os felly, ar bwy y mae'r bai? Ond efallai y dywedi na bu erîoed duedd ynot i fyw yn grefyddol a bod hynny yn profi na chefaist mo'r ddawn i fyw yn grefyddol; ac am hynny, meddi, "pa les yw dywedyd wythyf y rhaid i mi wrth y duedd, os nad yw'r ddawn gennyf?" Am y gelli gael y ddawn hon, pan y gwelo Duw yn dda ei rhoddi; ac y mae efe yn gweled yn dda ei rhoddi pan y gwelo dyn yn dda ei derbyn. Ai ymescuso a wnei trwy ddadlau nad wyt ddim yn gymmwys i'r alwedigaeth nefol? Gwybydd ynte mai dyma'r unig alwedigaeth y gellir gwneyd *pob* dŷn yn gymmwys iddi. Byddai yn hawdd gennyf goelio na ellid dim gwneuthur athronydd o honot, na darlunydd na bardd na cherddor; ond fe ellir gwneuthur sant o honot, od wyt yn ddŷn, yn bechadur —yn rhywbeth rhwng angel a chythraul. A pha beth sy'n gwneyd dŷn yn bechadur mwy gobeithiol na chythraul? Hyn, yn un peth, sef fod dŷn yn bechadur nad yw yn dymuno bod yn bechadur dros byth. Yr wyt ti wrth natur yn anifail crefyddol, a gellir trwy ras dy wneyd yn

ddŷn duwiol. Os nad wyt yn foddlon ar y cyflwr y'th anwyd iddo y waith gyntaf, gelli gael dy eni eilwaith o Dduw, ac ar ddelw Duw. Y mae Duw yn galw pawb i'r alwedigaeth nefol, a'r rhai sy'n gwrthod gwrandaw a gospir.

Ond nid am dueddfryd naturiol y rhai sydd y tu allan i'r alwedigaeth nefol, eithr am dueddfryd ysprydol y rhai sydd *yn* yr alwedigaeth honno y mae yn gweddu i mi sôn yn fwyaf arbennig. Os yw y rhain yn yr alwedigaeth hon am eu bod wedi eu galw iddi gan Dduw, yna y mae ganddynt hwy dueddfryd a dawn hefyd; canys nid yw Duw yn galw neb heb ei ddonio. A fynnet ti fyw yn dduwiol? Os felly, gelli fyw yn dduwiol. Y mae yn wir y gall dyn chwennychu llawer o bethau na all byth mo'u caffael; ond pa beth bynnag y bo dyn yn ei ewyllysio, y mae ganddo hefyd allu i gaffael neu i wneuthur y peth hwnw. Od oes ynot duedd i fyw yn dduwiol, y mae hynny yn dangos fod y dduwiol anian gennyt, naill ai yn yr hedyn neu yn yr eginyn. Os yw dy feddylfryd ar Dduw, y mae hynny yn profi fod dawn Duw yn dy yspryd. Duw yn unig a ddichon ennyn y ddawn hon, ond i ni y perthyn ei hail ennyn. "*Efe* a roes i ni feddwl fel yr adnabyddom yr hwn sydd gywir;" ond i ni y perthyn cyffroi y meddwl hwnnw.

Pa fodd y gallwn wneuthur hyn o beth? Trwy y ddau beth arall a enwyd yn anhebgorion crefydd, sef astudiaeth ac ymarferiad—trwy wybod a thrwy wneuthur. Y mae beirdd bôn y glêr yn *teimlo*, ac o deimlo yn *gwneuthur* rhyw gân neu gilydd; ond gan nad ynt yn *gwybod* nemmor, nid oes fawr o lewyrch ar ddim a wnelont. Y mae lliaws o grefyddwyr yn rhy debyg i fân feirdd Cymru: y mae ganddynt gàlon i deimlo, a llaw i weithio, ond nid oes ganddynt un llygad i weled; a chan fod eu gwybodaeth yn gyfyng, y mae eu teimlad yn fâs, a'u gwaith yn gyffredin. Erbyn hyn, y mae pawb oddi gerth mân feirdd,

mân gantorion, a mân areithwyr, yn addef fod astudiaeth mor anhebgor a dawn a dyfalwch tu ag at ragori ym mhob galwedigaeth ddaearol. Er hynny, y mae llawer o'r un bobl yn gweithredu, os nad yn llefaru, fel pe baent yn synio y gall dyn ragori yn yr *uchel* alwedigaeth ar bwys teimlad crefyddol a gweithredoedd crefyddol, heb wybodaeth grefyddol. Yr wyf fi yn credu yr ä rhai anwybodus iawn i'r nefoedd—i un o'r nefoedd, beth bynnag; os na bydd eu hanwybodaeth yn dyfod o ddiogi a diofalwch; ond y mae yn rhesymmol meddwl mai yscol galed fydd y nef honno i'r rhain, hyd oni orphennont ddyscu yno yr hyn a ddylasent ei ddyscu ar y ddaear; ac y mae yn amheus a allant byth ddyscu yn berffaith yr hyn a fwriadwyd iddynt ei ddyscu yma. Er y bydd y saint yn fwy deallus ym mhob nef nag ydynt ar y ddaear, etto, y ddaear yw'r lle gorau i ddyscu gwersi'r ddaear. Yma y gellir yn orau astudio edifeirwch a ffydd. Yn wir, yr ydys yn disgwyl i'r Cristion feistroli a dodi heibio yr athrawiaeth ynghylch edifeirwch a ffydd, athrawiaeth bedyddiadau ac arddodiad dwylaw ac adgyfodiad y meirw a'r farn dragwyddol, gyd â'i fod wedi bwrw ei brentisiaeth, a myned rhagddo oddi wrth y pethau elfennol hyn at air cyfiawnder. Anawdd iawn, os nad annichon, fydd deall *gair* cyfiawnder a darllen ymadroddion y nef, heb ddyscu ar y ddaear y llythyrennau, sef egwyddorion dechreuad yr ymadroddion hynny. Y ddaear yw yscol ddarpar y nef; ac os esceuluswn yr addysc a rodder yma, bydd hynny yn ein hanalluogi i dderbyn yr addysc uwch a roddir yno. Ni wn i pa sawl nef sydd yn y nefoedd; ond y mae yn bur debygol na symmudir mo ysprydoedd y saint o nef ïs i nef uwch—na newidir monynt o ogoniant i ogoniant, oddi gerth yn ôl y cynnydd a wnelont mewn gras a gwybodaeth. Gwybyddwn hyn, gyfeillion ieuaingc: os na bydd ein hesceulusdra i geisio gwybod dirgelwch yr efengyl yn ddigon pwysig i'n tynnu i lawr

hyd yn uffern, y bydd yn ddigon pwysig i rwystro'n dyrchafiad dros hir amser.

Pa beth arall sy'n angenrheidiol tu ag at lwyddo yn yr alwedigaeth nefol? Ymarferiad.—"Os gwyddoch y pethau hyn, gwyn eich byd os gwnewch hwynt." Ofer, wedi'r cwbl, fydd gwybodaeth athrawiaethol heb wybodaeth ymarferol. Ymrowch i wybod athrawiaethau a dyledswyddau crefydd, nid er mwyn cyhwfan eich gwybodaeth yn y dosparth neu mewn cyfarfod ysgolion, eithr er mwyn gwneuthur y pethau a wyddoch. Heb eu gwneuthur ni ellwch mo'u gwybod yn iawn. A ddywed un o honoch ei fod yn gwybod mai cariad ac ymwadiad a gostyngeiddrwydd yw prif rinweddau'r Cristion? Credaf fi dy fod yn gwybod hynny, pan y'th welaf ar dy liniau yn gwneuthur rhywbeth cyfystyr â golchi traed y saint tlodion. Yr wyt yn gwybod rhywbeth am *ddirgelwch* duwioldeb, sef ymddangosiad Duw yn y cnawd, ond a wyt yn arfer dy hun *i* dduwioldeb? Na ad i'r athrawiaethau pwysicaf, megis yr athrawiaethau am Dduw a'r ymgnawdoliad, beri iti anghofio dy hun, ac esceuluso dy waith dy hun. Astudia'r pethau y sydd y tu allan i ti dy hun, yn y nef ac ar y ddaear; ond gwna hynny tan weithredu arnat dy hun. Ymarfer dy hun, trwy gospi dy gorff, a'i ddwyn yn gaeth. Ymarfer dy hun i gyd, gorff, enaid, ac yspryd, trwy newynu dy drachwantau, trwy ddarostwng dy fympwyon, trwy gaethiwo pob meddwl sydd ynot i ufudd-dod Crist. Yn yr alwedigaeth nefol, ni all neb fod yn feistr ar ei waith heb fod yn feistr arno'i hun. Astudia Dduw, trwy ddarllen llyfr Duw; astudia ddynion, trwy ddarllen llyfrau dynion, a thrwy ymgymmyscu â dynion; astudia'r greadigaeth, trwy sylwi ar grawen y ddaear ac ar wyneb yr wybren; ond os mynni fod yn grefftwr ymarferol yn y deyrnas ysprydol, astudia *yr un* pethau ynot dy hun hefyd. Gwrandaw ar lais mawr

Duw yn taranu yn dy gydwybod dy hun. Edrych ar y byd yn ymadlewyrchu yn y llyn dwfn, llonydd, y sy'n gorwedd yngwaelod dy enaid di dy hun. "Duw," medd Solomon, "a osododd y byd ynghalonnau meibion dynion." Mynych y byddys yn dywedyd fod Ffraingc yn grynhoad o'r byd, a Pharis yn grynhoad o Ffraingc. O! y mae'r byd wedi ei grynhoi mewn lle llai o lawer na gwlad ac na dinas, sef yn fy nghàlon i fy hun; canys yn hon fe geir portreiadau bychain o'r greadigaeth, o'r ddynoliaeth, o Dduw, ac o dragwyddoldeb ei hun. Pe bâi creadur â'r fath adnoddau ynddo yn ymarfer ei hun i dduwioldeb, ymddangosai yn greadur mawr iawn, a gallai wneuthur gwaith mawr.

Ni fynnwn i ddywedyd y gall un Cristion fod yn anwybodus iawn ym mhen rhyw flwyddyn neu ddwy ar ol ei argyhoeddi; canys y mae pob un a gafodd iachawdwriaeth yn *mynnu* gwybod, mewn byr amser, gryn lawer am drefn yr iachawdwriaeth honno, o'i chyhoeddiad yn Eden hyd ei gorpheniad yn y dydd diweddaf. Ni all y cyfryw un fod yn hir yn anwybodus; canys y mae ei gariad yn ei wneyd yn rhy chwilfrydig ac yn rhy gofus i barhau felly. Er hynny, y mae rhai yr ydys yn eu cyfrif yn anwybodus, o'u cymharu âg eraill, yn fwy medrus o lawer na'r rheini yn yr alwedigaeth nefol, am eu bod wedi ymarfer mwy â hi na hwynt-hwy. O'r ddau, y mae ymarferiad yn gwneyd y crefftwr, daearol a nefol, yn fwy meistrolgar nag astudiaeth.

A ydym, trwy y tri pheth y traethwyd am danynt, yn gwneuthur ein goreu ar ein cael ganddo ef mewn tangnefedd—ar ein cael mewn tangnefedd, trwy'n cael yn ddifrycheulyd ac yn ddiargyhoedd? Ni byddwn yn gymmeradwy ganddo ef heb ymorchestu. Ni chawn deyrnas nefoedd heb ei cheisio yn gyntaf, a'i cheisio trwy ei chipio hefyd. Ni lwyddwn yn yr alwedigaeth nefol

heb ymroddi iddi â'n holl gàlon, â'n holl enaid, ac â'n holl nerth. Galwedigaeth anawdd yw hon; ac am ei bod yn anawdd, y mae rhai, fel Demas, yn ei gadael; ac eraill, fel Hymeneus ac Alecsandr, yn methu ynddi, gan wneuthur llong-ddrylliad am y ffydd. Y mae hi yn alwedigaeth anawdd am ei bod yn alwedigaeth uchel, ac yn alwedigaeth uchel am ei bod yn alwedigaeth anawdd. Pob galwedigaeth y mae yn hawdd i ddyn ei dyscu a llwyddo ynddi, nid ydys yn cyfrif honno yn alwedigaeth anrhydeddus. Os llwyddi yn yr alwedigaeth uchaf o bob galwedigaeth, bydd yn wiw gan Dduw ei hun dy ganmol yn y farn. Y mae llawer o siarad a scrifennu yn Lloegr er ys talm bellach am *natural selection* a *survival of the fittest*. Yr wyf fi yn credu mewn etholedigaeth gras; ond yr wyf yn credu hefyd mewn *d*etholedigaeth naturiol, ac yn credu hefyd fod rhywbeth tebyg i hyny yn y byd ysprydol. Yr wyf yn credu mai o ras a thrwy ffydd y cedwir pawb; ond yr wyf yn credu hefyd mai'r cryfaf a orfydd yn y byd arall, fel yn y byd hwn—mai'r trechaf a dreisia ac mai'r gwanaf a waedda. Pa ham y mae cynnifer o ddynion yn rhy wan i dreisio teyrnas nefoedd? Am eu bod heb ddadblygu a chyfnerthu eu hysbryd trwy ymarfer eu hunain i dduwioldeb. Pa ham y bydd y saint byw yn dragywydd? Am y byddant yn medru byw, ac yn haeddu byw. Gorchfygwyr yn unig a etifedda'r nef, a bydd coron gogoniant i bob un o'r rheini yn goron cyfiawnder.

Da chwi, ieuengtid, brysiwch i ddyscu ar y ddaear gymmaint ag a alloch o'r alwedigaeth nefol. Ai ofn myned i uffern sydd arnoch? Ofn myned i'r nefoedd sydd arnaf fi, cyn gorphen dyscu fy ngalwedigaeth. Y mae gennyf, gobeithio, ychydig ffydd, a rhinwedd, a gwybodaeth, a chymmedrolder; ond yr wyf etto heb gyrhaeddyd y pethau pwysicaf, sef amynedd, duwioldeb, caredigrwydd

brawdol, a chariad cyffredinol. Yr wyf heb ddyscu hanner fy nhasc, ac y mae arnaf ofn y byddaf farw cyn ei gorphen. Os digwydd imi yr hyn yr wyf yn ei ofni, byddaf yn golledwr byth, hyd yn oed pe na bawn yn golledig. Y mae gennyf gorff gweddol gryf; yr wyf yn oludog iawn yn mhethau'r byd hwn; canys ni bu arnaf eriôed eisiau ymborth na dillad (oddigerth pan y byddwn yn ymprydio yn wirfoddol, er mwyn gallu prynnu llyfrau a thramwyo'r ddaear). Ond pa fodd y mae hi ar fy enaid? Pa un ai iach ai afiach yw hwnnw? Pa un ai tlawd ai cyfoethog wyf tu ag at Dduw? Yr ych yn cofio pa fodd y mae Ioan yn annerch Gaius yn ei lythyr atto: "Anwylyd yr ydwyf yn bennaf dim yn dymuno dy fod yn llwyddo ac yn iach, fel y mae dy enaid yn llwyddo." O! pe bawn i yn gweddïo ar i Dduw wneyd corff pob un o honoch cyn iached a'i enaid, a dim iachach; ac ar iddo'ch gwneyd mor llwyddiannus yn yr alwedigaeth ddaearol ag ydych yn eich galwedigaeth nefol, a dim mwy llwyddiannus; ac yntau yn gweled yn dda wrandaw fy ngweddi, ni wn i ddim pa un ai diolch ai dannod imi a wnâi y rhan fwyaf o honoch; canys fe welid gwedd rhai yn gwelwi, eu gliniau yn ymollwng, a'u holl gorff yn darfod yn gyflym gan nychdod; tra y gwelid eraill yn magu cnawd a gwrid, yn ymunioni, ac yn ymsiongci drwyddynt. Gwelid rhai yn methu yn eu hamgylchiadau, ac yn y man yn marw o newyn ac oerfel; tra gwelid eraill yn llwyddo ym mhob peth a wnelent, a hynny heb fod yn euog o dwyll na chribddeiliad nac ocraeth. Ni welir mo hyn heddyw nac yfory, ond fe'i gwelir rywbryd; canys yn nydd y farn fe wastatteir pethau, gan y bydd y corff a'r enaid o hynny allan yn yr un cyffelyb gyflwr. Enaid iach mewn corff iach, neu ynte enaid afiach mewn corff afiach, a fydd gan bob dŷn yn y byd tragwyddol. O! gymmaint mwy gofalus yw y rhan fwyaf o honom am iechyd ein corff nag am

iechyd ein henaid; am ein llwyddiant tymhorol nag am ein llwyddiant tragwyddol. Bydd dynion yn brysio at feddyg pan y bo rhyw ddrwg ar eu llygaid neu ar eu cylla, ond anfynych y bydd neb yn brysio at feddyg enaid i gwyno fod y diafol wedi dallu llygaid ei feddwl, a'i fod yntau ei hun wedi colli blâs ar ymborth ysprydol. Bydd llaweroedd yn ymdyrru at gyfreithiwr i ymofyn pa fodd y gallant ochel rhyw aflwydd masnachol a fo yn bygwth dyfod arnynt; ond ychydig a fydd yn myned at wŷr cyfraith Duw i ymofyn pa beth a wnânt i ochel aflwydd yn yr alwedigaeth nefol. Nid at offeiriaid a phregethwyr a diaconiaid yr wyf yn cyfeirio yn awr, eithr at y Cristionogion profedig hynny, pa un bynnag ai swyddogion neu amgen, y sydd, o blegid eu gras a'u doethineb, yn alluog i gyfarwyddo eraill mewn matterion ysprydol. Adwaen i rai o'r cyfryw, a gallaf ddywedyd, ar bwys eu tystiolaeth hwy eu hunain, mai ychydig sy'n ymofyn â hwynt ynghylch y pethau pwysicaf. Y mae y rhai sy'n blant mewn deall, ac yn blant mewn dyddiau, yn synio y gallant fyned i'r dragwyddol deyrnas yn yscyfala, ac wrth synwyr y fawd, heb gynghor na chyfarwyddyd neb. Dangos y mae hyn nad yw'r cyfryw rai erioed wedi eu hargyhoeddi fod byw yn dduwiol yn uchel alwedigaeth, nac yn alwedigaeth o gwbl.

Ond ni lwyddant hwy, ac ni lwydda neb, yn yr alwedigaeth hon, oni byddant yn frodyr santaidd, sef yw hynny, yn rhai cwbl ymroddedig i waith yr alwedigaeth; canys yn gymmaint ag mai hyhi yw'r alwedigaeth anhawddaf ac anrhydeddusaf, y mae yn eglur y rhaid ini ymroddi iddi hi yn llwyrach nag yr ŷm yn ymroddi i unrhyw alwedigaeth arall. Byddwn ddyfal yn yr alwedigaeth hon; marchnattawn yn dda, fel y bo ini, megis y gwas cyntaf yn nammeg y punnoedd, nid yn unig gael ein gosod ar ddeg dinas, ond hefyd cael canmoliaeth gan y Barnwr.

Bydd hynny yn well na chael pum dinas heb ddim canmoliaeth. Rhoddwyd hanner gwobr i'r ail was, ond ni chanmolwyd dim arno ef. Gwnawn ein gorau i ennill canmoliaeth, a gwobr gyfan; canys oni chawn y rheini, ni'n cyfrifir yn mhlith pendefigion y nef. Y rhai sy'n myned i mewn i'r dragwyddol deyrnas yn helaeth—yn anrhydeddus, ac nid yn llwyddiannus yn unig, a fydd aelodau o'r bendefigaeth. Ofnwn, beth bynnag, rhag ini, trwy esceuluso'r ddawn a roddwyd ini, fod yn debyg i fod yn ôl; canys cospedigaeth ac nid gwobr, fach na mawr, sy'n aros rhai esceulus.

## XVII.

## CREFYDD YN DREF-TADAETH.

"*Y mae gennyf ddiolch i Dduw, yr hwn yr ydwyf yn ei wasanaethu o'm rhieni â chydwybod bur . . . gan alw i'm côf y ffydd ddiffuant sydd ynot ti, yr hon a drigodd yn gyntaf yn dy nain Loïs, ac yn dy fam Eunice; a diammau gennyf ei bod ynot tithau hefyd;* 2 TIM. I. 3 (*a*) 5.

YR ŵyf yn gadael allan y 4edd adnod a'r rhan olaf o'r 3edd, er mwyn dangos yn well y cyssylltiad sy rhwng y 3edd a'r 5med. Hyd yn oed er gwneuthur hynny, nid yw yn hawdd i'r darllenydd cyffredin wybod am ba beth yr oedd yr apostol yn diolch i Dduw; canys y mae yn bur sicr fod y sawl a ddiwygiodd, neu, yn hytrach, a newidiodd, gyfieithiad yr hên Ddr. Morgan yn meddwl mai am fod yr apostol yn gwneuthur coffa am Timotheus yn ddibaid yn ei weddïau yr ydoedd yn diolch. Y mae yn amlwg nad oedd y Dr. Morgan ei hun ddim yn meddwl hynny; ond pe gofynnid pa beth amgen yr ydoedd yn ei feddwl, byddai yn bur anawdd atteb, gan ei fod yntau, fel yr Escob Parri ac eraill, yn peri i'r apostol ddywedyd "gan gofio" yn lle "pan gofiwyf," neu "pan y'm hadgofiwyd," yn nechrau yr adnod. Y mae pawb bellach yn cyd-dystiolaethu mai am rywbeth y mae yn ei fynegi yn y 5med adnod, ac nid am ddim yr oedd yn ei fynegi yn y 3edd, yr oedd yr apostol yn diolch; hynny ydyw: mai ei waith yn galw i'w gof y ffydd ddiragrith a oedd yn Timotheus, ac nid ei waith yn coffâu am dano yn ei weddïau, oedd yn *peri* iddo deimlo yn ddiolchgar i Dduw. Felly byddai yn

well cyfieithu'r geiriau sydd yn nechrau y 3edd a'r 5med adnod fel hyn: "Yr wyf yn diolch i Dduw, pan alwyf i'm cof y ffydd ddiffuant sydd ynot ti."

Dyma fydd pwngc fy sylwadau i ar bwys y testyn:—

*Crefydd yn etifeddiaeth deuluol.* Y mae hi yn myned yn etifeddiaeth, yn y lle blaenaf, trwy waed, neu trwy ddylanwad perthynas deuluol. Pe dywedwn fod plant yn etifeddu *duwioldeb* eu rhieni trwy waed, cyfeiliorni a wnawn, gan fod Ioan yn dywedyd am y rhai a wnaed yn feibion i Dduw, na aned monynt hwy o waed, nac o ewyllys y cnawd, nac o ewyllys gŵr, eithr o Dduw; ond wrth ddywedyd fod plant, fel rheol, yn etifeddu *crefydd* trwy waed, yr ŵyf yn dywedyd peth y mae'r Bibl a natur, hanes a phrofiad, yn cyd-dystiolaethu ei fod yn wirionedd. Er fod a wnelo crefydd â'r goruwchnaturiol, etto, ynddo ac arno 'i hun, peth naturiol ydyw crefydd. Y mae pawb oddi gerth Atheistiaid yn addef fod dŷn wedi ei eni yn anifail crefyddol, neu yn greadur âg ynddo rywfaint o dueddfryd addolgar; ac oni buasai fod mewn dŷn rywfaint o grefyddolder, buasai yn annichon i Dduw ei wneuthur yn dduwiol. Trwy ei esceulusdra'i hun ac esceulusdra'i rïeni a'i hynafiaid, gall ambell un fyned mor anghrefyddol ag i roi achos i rywrai haeru nad oes ganddo ddim syniad am Dduw, nac am ei gyfrifoldeb ef ei hun iddo. O'r tu arall, y mae ambell deulu, trwy ddilyn eu tueddiadau crefyddol o genedlaeth i genedlaeth, yn myned o'r diwedd mor grefyddol eu hyspryd a'u harferion ag i beri i'r cyffredin dybied fod pawb a'r a aner o honynt hwy yn dduwiol wrth natur. Er y gall dŷn fod yn grefyddol heb fod yn dduwiol, etto rhaid addef fod pob dŷn crefyddol o fewn ychydig i fod yn dduwiol; ac am fod plant crefyddol o fewn ychydig i fod yn dduwiol, y mae cynnifer o honynt yn myned yn

dduwiol. Ynddynt hwy y mae duwioldeb yn cyd-dyfu â'u crefyddolder; a hynny yw'r achos pa ham na wyddys pa pa bryd yr aethant yn dduwiol. Y mae plant crefyddol yn ymlithro i fod yn dduwiol yn ddiarwybod iddynt hwy eu hunain ac i bawb eraill. Y mae byw yn dduwiol yn myned yn ail natur i'r rhai a anwyd o rieni crefyddol. Yr oedd yn haws gan yr apostol gredu fod Timotheus yn dduwiol, am fod ei fam a'i nain ef yn dduwiol. Yr oedd yn ddiammau ganddo nad oedd y ffydd a drigasai yn y teulu dros ddwy genedlaeth ddim yn myned i adael y teulu hwnnw yn y drydedd genedlaeth. Unwaith y delo crefydd i deulu, erys hi ynddo cyhyd ag y caiff. Y mae yn ddigon anawdd ei chael i mewn, ac y mae yn lled anawdd ei chael allan hefyd; canys dyfod i mewn i drigo ac nid i lettya yw ei harfer hi. Pan y bo'r nain farw, trigo a wna yn y fam; a phan y bo'r fam farw, trigo a wna yn y mab. Er y bydd ambell un o *aelodau*'r teulu yn ei gadael hi, etto, anfynych y bydd hi yn gadael y teulu.

Ond nid Timotheus yw'r unig un yr ydys yn tystiolaethu am dano yn y testyn ei fod yn ddyledus i'w hynafiaid am y ffydd a oedd ynddo; canys y mae ei athraw yr un ffunud yn tystiolaethu ei fod yntau yn grefyddol am ei fod wedi ei eni o rieni crefyddol: "Y mae gennyf ddiolch i Dduw," ebe ef, "yr hwn yr ydwyf yn ei wasanaethu o'm rhïeni â chydwybod bur." Y grefydd Iddewig, y mae'n wir, oedd crefydd rhïeni'r apostol, a'i grefydd yntau cyn ei droi yn Gristion; ond yr oedd gorchmynion mawr y grefydd honno yn aros yn orchmynion mawr yn y grefydd Gristionogol; ac yr oedd y ddeddf hyd yn oed yn ei phethau defodol yn athraw at Grist. Am hynny, yr oedd rhïeni'r apostol, wrth ddyscu eu mab i fod yn Iddew da, yn ei ddyscu, yn anfwriadol bid sicr, i fod yn Gristion da. Fe fu'r apostol unwaith yn gablwr, yn erlidiwr, ac yn

drahaus, ond am ei fod yn grefyddol yr ydoedd felly. Pa beth bynnag a fu, ni pheidiodd erioed â gwasanaethu Duw â chydwybod bur; ac am ei fod ef yn Iddew crefyddol a chywir y bu yn wiw gan Dduw yn ei ras ei wneyd yn Gristion. Gwaith mawr, yn ddïau, a wnaeth Duw ar Saul o Tarsus yn agos i Damascus; ond nac anghofiwn fod y nef wedi effeithio arno er ys talm cyn hynny: "Yr hwn a'm neillduodd i o groth fy mam," eb efe, "ac a'm galwodd i trwy ei ras.' Yr oedd yr alwad ger llaw Damascus yn seiliedig ar y neillduad yn Tarsus. Hanes tröedigaeth dŷn a wasanaethodd Dduw o'i rïeni—a fu byw yn grefyddol o'r bru, ac nid hanes tröedigaeth dŷn annuwiol, a geir yn y ixfed bennod o'r Actau. Os mynnwch i'ch plant gael eu troi a'u gwneuthur yn dduwiol, gofelwch ar eu bod yn cael eu geni a'u magu yn grefyddol; a chrefyddol a fyddant os byddwch chwi yn dduwiol. Y mae'r Beibl yn dywedyd yn bendant fod plant gŵr credinriol, neu blant gwraig grediniol, yn santaidd: hynny ydyw, yn neillduedig, yn ymgeiswyr gobeithiol am iachawdwriaeth, yn etifeddion tebygol bywyd tragwyddol. O bob braint, y bennaf yw bod yn blentyn i rïeni duwiol. Nid yw yn ormod dywedyd na buasai'r dŷn Crist Iesu ei hun ddîm yn gyfryw un ag ydoedd, oni buasai fod iddo fam heb ei bath; canys os mynnwn fod yn ddiwinyddion diragfarn, rhaid ini gredu ei fod ef yn santaidd nid yn unig am ei eni o'r Yspryd Glân, ond hefyd am ei eni o'r Forwyn Fair. Yr oedd yn rhaid i Dduw wrth oesoedd a chenedlaethau lawer i ddarparu mam gymmwys i'r Gwaredwr; a hynny yw un achos pa ham na ddaeth Crist yn y cnawd yn llawer cynt. Yr oedd yn weddus i Flaguryn yr Arglwydd ddyfod o hên foncyff da; sef, o gyff Iesse, tad y llinach frenhinol a fu yn teyrnasu ar y genedl santaidd. Er mai lled ïsel ei sefyllfa ydoedd mam yr Iesu, etto, yr oedd yn uchel ei

bonedd; mor lasgoch ei gwaed a merch brenin, ac yn fwy bendigaid na holl wragedd Israel. Yr oedd awen peraidd ganiedydd Israel yn rhedeg yn ei gwythennau, a dylifodd yr awen hono i wythennau ei mab; ac am ei fod ef yn llawn o'i hawen hi, ac awen Dafydd, y gallodd e fwydo'i athroniaeth mewn barddoniaeth. Pan y'i gwnaethpwyd o wraig, sugnodd efe holl ddoniau a daioni tŷ Israel iddo'i hun; ac am ei fod wedi crynhoi ynddo'i hun holl rinweddau y ddynoliaeth y galwodd ei hun yn Fab y dŷn, neu yn fanylach, y Mab dŷn. Y mae gan agos bob dŷn da fam dda, ac y mae yn rhesymmol meddwl fod gan y dŷn gorau y fam orau. Yr oedd yr Iesu yr hyn ydoedd, mewn rhan, am fod ei fam, ei nain, ei daid, ei hendaid, a'i orhendaid; ïe, am fod hynafiaid mor bell a Hezecïa, Dafydd, ac Abram, yr hyn oeddynt hwy. Pan y gwnaethpwyd yr Iesu o wraig fe'i gwnaethpwyd dan ddeddf hefyd —dan bob deddf, ac felly dan ddeddf etifeddiaeth, se fy ddeddf sy'n gwneuthur y plant yn gyfrannog o nawd a neillduolion eu hynafiaid. Yn hyn yn unig yr oedd efe yn annhebyg i ddynion eraill, sef nad etifeddodd efe mo bechodau ei hynafiaid. Fe'i gwnaed yn mhob peth yr un ffunud a ninnau, etto heb bechod.

I ba beth yr wyf yn sôn yn y pulpud am ddeddf y mae mor anawdd ymdrin â hi yn fanwl ac yn eglur, heb ymddangos yn aflednais? Er mwyn cyffroi tadau a mammau i ymdeimlo â'u cyfrifoldeb. Yr ŵyf fi a'm tebyg yn dylanwadu ar eraill trwy'n hesampl; ond yr ych chwi yn dylanwadu ar eich plant trwy waed; ac y mae dylanwad gwaed yn gryfach ac yn ymestyn ym mhellach na dylanwad esampl. Byddwch chwi byw yn eich hiliogaeth tra bo'ch hiliogaeth yn bod. Bydd gwaed eich calon chwi yn curo ym mynwesau'ch plant a'ch wyrion a'ch gorwyrion; ac er y bydd yn curo yn yscafnach, yscafnach, y naill dro ar *ol y llall*, ni phaid byth â churo peth. Byddwch chwi

naill ai yn gwymp i lawer fel yr Adda cyntaf, neu yntê yn gyfodiad i lawer fel Adda'r Ail. Yn wir, y mae pob penteulu yn fath o Adda bach; am fod tynged ei eppil yn crogi, i fesur mawr, wrth ei gymmeriad ef. Yr ŷm oll yn byw dan ddylanwad miloedd o genedlaethau; ac y mae hynny, yn lle lleihau'n cyfrifoldeb, yn ei fwyhau; canys os dylanwadodd y rhai a fu o'n blaen arnom ni, gallwn ninnau ddylanwadu er da neu er drwg ar y sawl ddêl ar ein hôl. Y mae fod gennym allu i ddylanwadu ar eraill yn brawf fod gennym allu i ddylanwadu arnom ein hunain hefyd; ac am hynny, yr ŷm yn annibynnol er ein bod yn ddibynnol. Yr ŷm yn ddigon dibynnol i deimlo oddi wrth ddylanwad y teulu a dylanwad y ddynoliaeth; ac etto, ar yr un pryd, yr ŷm yn ddigon annibynnol i ymryddhau oddi wrth y dylanwadau hynny trwy ragorol fawredd nerth Duw. Ni fynnwn i ddywedyd y dichon grâs ei hun symmud ymaith holl anfanteision y neb na chafodd fagwraeth grefyddol; ond fe ddichon symmud ymaith ganlyniadau gwaethaf yr anfanteision hynny. Y mae yn hyfryd ini feddwl fod dylanwad rhïeni duwiol yn cyraedd ym mhellach o lawer na dylanwad rhïeni annuwiol; canys fe gyhoeddwyd ar Sinai mai hyd y drydedd a'r bedwaredd genedlaeth yn unig y mae Duw yn ymweled âg anwiredd y tadau ar y plant; ond y mae yn gwneuthur trugaredd i filoedd—neu, yn gywirach, hyd fil o genedlaethau o'r rhai a'i carant. Y mae trugaredd yn gorfoleddu yn erbyn barn mewn natur a gras.

Yn yr ail le, y mae crefydd yn myned yn etifeddiaeth deuluol trwy ddylanwad addysc ac esampl deuluol—o leiaf, y mae addysc ac esampl yn cadarnhau y grefydd a gafwyd trwy waed. Y mae llawer yn methu â deall pa ham y mae rhai plant a anwyd o rieni crefyddol yn myned yn anghrefyddol. Gan nad oes dim yn digwydd heb ryw achos, y mae cyn hawsed i'r cyfarwydd esponio'r ffaith hon

a rhyw ffaith arall. Heb ymdroi i grybwyll am yr achosion mwyaf anghyffredin, prysuraf i ddywedyd mai rhyw ddiffyg yn sylwedd yr addysc deuluol, neu ynte yn yr yspryd a'r dull y bydder yn ei chyfrannu, yw'r achos mwyaf cyffredin. Rhag ofn fod rhywun yn dywedyd ynddo'i hun mai gwaith rhieni yn llwyr esceuluso addyscu eu plant mewn crefydd yw'r achos pennaf, dylwn roi ar ddeall nad ŵyf fi ddim yn credu y gall rhieni crefyddol fod yn euog o'r esceulusdra hwn. Dïau y gall proffeswyr crefydd fod yn euog o hono; ond y mae rhai sy'n byw yn grefyddol yn lân oddi wrtho; canys y mae Duw yn tystiolaethu am bob un a'r sydd eiddo ef, fel am Abram: "Mi a'i hadwaen ef, y gorchymmyn efe i'w blant ac i'w dylwyth ar ei ol, gadw o honynt ffordd yr Arglwydd." Ond, fel yr awgrymmwyd o'r blaen, gall rhieni pur grefyddol fod heb wybod yn dda pa fodd i ddyscu eu plant, a pha beth i'w ddyscu iddynt; ïe, meddaf, heb wybod pa beth i'w ddyscu iddynt; canys nid pob peth o fewn o Bibl ei hun sy'n gyfaddas i blant, nac, yn wir, i bob math o bobl ieuaingc chwaith; ac am hynny y mae'r apostol, wrth scrifennu at Timotheus, yn gosod cymmaint o bwys ar iawn gyfrannu gair y gwirionedd; ac am yr unrhyw reswm y bydd Cyfeisteddfod yr Yscolion Sul yn gadael allan bennod neu ddarn pennod o'r maes llafur a roddir i blant ac ieuengctid. Llyfr i'r eglwys yw'r Bibl; ac as mynnir ei wneuthur yn llyfr cyfaddas i bob rhyw aelod o'r eglwys, dylai rhieni yn y teulu, ac athrawon yn y dosparth, fod yn ofalus i'w iawn gyfrannu; onid e, gallant wneuthur mwy o niwed nag o les. A ydwyf fi, a'r Cyfarfod Misol a'r Gymmanfa, wrth hyn yn dibrisio'r Scrythyr? Nac ydym ddim; mwy nag y byddai meddyg yn dibrisio bara wrth ddywedyd fod llaeth yn fwy cyfaddas nag ef i blant newydd eni. Dyscwch i'ch plant yn gyntaf oll rannau o hanes Ioseff, a Moesen, a Samwel, ac Absalom, a rhyw hanner cant o'r

Diarhebion buddiolaf, ac yn enwedig hanes Iesu o Nazareth—ei hanes yn ôl Marc i ddechrau, am fod ei efengyl ef yn symlach na'r efengylau eraill. Wedi hynny dyscwch iddynt ganeuon mwyaf barddonol yr Hên Destafen; megis dwy gân Moesen, cân Debora, dammeg Iotham, a marwnadau Dafydd, er mwyn dyscu 'ch plant i brisio'r hyn sy fawreddig a phrydferth; canys y mae eu dyscu i fod yn chwaethus mor bwysig a'u dyscu i fod yn wybodus. Ymgedwch rhag darllen iddynt, a cheisiwch eu cadw hwythau rhag darllen eu hunain y rhannau hynny o'r Hên Destafen y sy'n adrodd am dreisiau, yspeiliadau, lladdiadau, a rhyfeloedd, hyd oni bônt wedi eu cadarnhau mewn pethau buddiolach, a mwy cyttunol âg ysbryd yr efengyl. Bydd y Scrythyr Lân, o'i hiawn gyfrannu yn y modd hwn, yn abl i wneuthur y sawl a'i gwyppo yn ddoeth; ïe, yn ddoeth i iachawdwriaeth, trwy y ffydd sydd yNghrist Iesu. Gwybodaeth yr efengyl wedi ei chyd-dymheru â ffydd sy'n achub. Gofelwch chwi am gyfrannu'r wybodaeth, gofala Duw am roddi'r ffydd. Gofalwch chwi am y coed, gofala Duw am y tân; ac er y gall fod tanwydd heb dân, etto ni all fod tân heb danwydd. Yr oedd y ffydd ddiragrith a drigodd yn Loïs ac yn Eunice yn trigo yn y llangc Timotheus, nid yn unig am ei fod yn fab i'r naill ac yn ŵyr i'r llall, ond hefyd am ei fod yn ddisgybl i'r ddwy: am ei fod wedi ei ddyscu ganddynt er yn fachgen; neu, yn gywirach, er yn blentyn.

Ond i addyscu yn effeithiol rhaid addyscu trwy esampl yn gystal a thrwy air; canys os mynegwch chwi i'ch plant fod Duw yn dywedyd fel hyn, a hwythau yn eich gweled yn gwneuthur fel arall, diystyru a wnânt orchymmyn Duw, a'ch dynwared chwi, a chollant eu hymddiried ynoch ar yr un pryd. Y mae addysc deuluol yn rhywbeth amgenach nag addysc noeth: y mae hi yn hyfforddiant, a rhieni yn

unig a all hyfforddio'u plant. Gall athraw yn yr Yscol Sul ac yn yr yscol feunyddiol addyscu deall eich plant; ond chwychwi eich hunain a all addyscu eu hewyllys; ac addyscu'r ewyllys yw hyfforddio. Dysg blentyn ym mhen ei ffordd—nage: "Hyfforddia blentyn ym mhen ei ffordd; a phan heneiddio, nid ymedy â hi." Mynych y bydd dŷn yn gwyro oddi ar y ffordd yr addyscwyd ef ynddi; ond ni bydd odid neb yn gwyro oddi ar y ffordd yr hyfforddiwyd ef ynddi.

Gofaled rhieni ar gadw eu plant rhag dylanwadau â thuedd ynddynt i ddirymmu dylanwad yr addysc deuluol. Y mae mwy o angen am roi y cyngor hwn yNghymru a Lloegr nag mewn gwledydd mwy gwareiddiedig, am fod mwy o bechu agored, ar air a gweithred, yn hewlydd a meusydd y ddwy wlad yma nag sy mewn odid un wlad arall ar y ddaear. Y mae cymmaint o wahaniaeth rhwng plant Ffraingc a'r rhan fwyaf o blant Cymru ag sy rhwng boneddigion ac anwariaid. Yn Ffraingc, a llawer gwlad arall ar y Cyfandir, byddai yn chwith gweled plant mor ddirol ar y stryd ag yw llawer o blant yn yr Yscol Sul yNghymru. Byddai yn chwith iawn eu gweled yn crwydro yn yr hewlydd wedi nos, ac yn chwith eu gweled allan ar ôl ŵyth ar gloch ynghanol haf, heb fod rhywun yn gofalu am danynt. Os yw rhieni mor ofalus am eu plant mewn gwledydd lle y mae'r temtasiynau oddi allan mor ychydig, mwy o lawer y dylai rhieni crefyddol Cymru fod yn ofalus am eu plant, a hwythau yn byw mewn gwlad lle y mae cynnifer o blant gwylltion ar led, heb ofni Duw na pharchu dŷn.

Ond nid oddi allan yn unig y mae dylanwadau niweidiol yn dyfod i deuluoedd proffeswyr crefydd yNghymru: y maent yn rhy fynych yn gweithio o fewn y teuluoedd eu hunain. Y mae pawb a'r sy wedi scrifennu ar addysciaeth grefyddol yn cyttuno i ddywedyd nad oes dim yn gyrru

plant ym mhellach oddi wrth grefydd na chlywed eu rhïeni yn siarad yn ammharchus am bobl grefyddol. Duw a ŵyr fod mwy na digon o feiau ar y bobl orau; ond y mae yn well i rïeni sôn am eu rhagoriaethau hwynt ynghlyw eu plant. Yr ŷch chwi yn ddigon hên, ac felly yn ddigon athronyddol, i allu gwahaniaethu rhwng crefydd a chrefyddwyr; ond y mae'ch plant yn analluog i wneyd hynny. Nid ŵyf yn gofyn ichwi ymattal rhag beirniadu pobl a phethau; ond yr ŵyf yn dyweyd mai gorau po lleiaf a feirniadoch arnynt ynghanol y teulu. Yn hytrach na magu yn eich plant yspryd beirniadol, dyscwch hwynt yn gyntaf oll i garu, i barchu, ac i edmygu "Pa bethau bynnag sy wir, pa bethau bynnag sy barchedig, pa bethau bynnag sy gyfiawn, pa bethau bynnag sydd hawddgar, pa bethau bynnag sy ganmoladwy," mewn person neu beth; od oes dim rhinwedd, od oes dim clod, dyscwch eich plant i feddwl am y pethau hyn, ac i brisio'r pethau hyn.

Yn y trydydd lle, y mae crefydd yn myned yn etifeddiaeth sicrach mewn teulu trwy ddylanwad traddodiad a hên adgofion teuluol; hynny ydyw, y mae teulu, wrth barhau yn grefyddol dros hir amser, yn creu iddo'i hun hanes crefyddol y sy'n cynnyddu mewn dyddordeb o oes i oes; ac y mae'r hanes hwnw yn ei dro yn magu cydymdeimlad crefyddol y sy'n rhwymo pob aelod a phob cenedlaeth o'r teulu yn dyn wrth eu gilydd. Y mae yn naturiol i blant ymddori yn hanes eu rhïeni, a rhïeni eu rhïeni, a'u rhïeni hwythau; ac y mae'r adgofion am hynafiaid duwiol yn cynhyrfu'r eppil i'w dilyn hwynt yn eu ffydd a'u hymarweddiad. Os oedd gan yr Apostol achos i ddiolch i Dduw wrth adgofio'r ffydd a drigodd yn gyntaf yn Loïs, ac wedyn yn Eunice, mwy o lawer yr oedd gan Timotheus achos i ddiolch wrth adgofio hynny, ac yntau yn un o'r teulu. Chwychwi hiliogaeth y saint, cedwch y ffydd, am mai hyhi yw hên ffydd y teulu—y ffydd y buont

byw trwyddi a'r ffydd y buont farw ynddi. Glynwch wrth eich Duw; canys hwn oedd Duw eich tadau, Duw eich mam, a Duw eich nain. O! byddai yn resyn ichwi gefnu ar Dduw a oedd mor anwyl ganddynt hwy. Y mae arnoch rywfaint o ddyled i fod yn bur i'ch teulu; ac o barch i'ch teulu ac i draddodiadau'r teulu, dywedwch yr awr hon, "Y Duw hwn a fydd ein Duw ninnau byth ac yn dragywydd." Y mae yn hyfryd gan yr Arglwydd fod yn Dduw i deulu cyfan, a pharhau yn Dduw iddo o oes i oes; ac am hynny y byddai efe yn ceisio troi calonau plant Israel atto'i hun trwy ddywedyd wrthynt mor fynych, "Myfi yw Arglwydd Dduw eich tadau;" "Myfi yw Duw Abram, Duw Isag, a Duw Iago." Y mae yn hawdd i'r plant mwyaf gwrthgiliedig gael yr Arglwydd yn Dduw iddynt, am eu bod hwy yn garedigion o blegid y tadau. Pe bâi arnoch chwi y sy'n blant gwrthgiliedig eisiau iachawdwriaeth, ac arnoch chwithau y sy'n blant ffyddlon eisiau rhyw fendith arall, nid ŵyf fi yn meddwl y gwnaech yr Eiriolwr mawr yn eiddigus pe dygech ar gôf i'w Dad eich bod yn wyrion i hwn a hwn, ac yn perthyn yn agos i hon a hon; canys y mae Duw erioed yn barod i wneuthur llawer i'r plant er mwyn eu tadau. Yr oedd gweddïwyr yr Hen Destament yn deall anian Duw yn well o lawer na nyni; canys pa bryd bynnag y gofynnent hwy rywbeth mawr ganddo, gofalent am appelio at ei hên gariad at y teulu. Tarawodd Iagof ei fŷs ar ganol ei fodfedd feddal ef pan y dechreuodd weddïo fel hyn: "O Dduw fy nhad Abram a Duw fy nhad Isag!" "Cofia Moses dy was," eb un arall. "Pa fath ddŷn bynnag ŵyf fi, yr oedd Dafydd yn ŵr wrth fodd dy galon—cofia dy gyfammod â thŷ Dafydd." Os yw'r ystyriaeth hon yn mennu ar Dduw, dylai yn bendifaddau fennu arnom ni; ac y *mae* hi yn mennu mwy neu lai ar bawb a *fagwyd* mewn hên deulu crefyddol; canys pan fo crefydd

wedi trigo mewn teulu dros ddwy neu dair cenedlaeth, rhaid i aelod o'r teulu hwnnw roi rhyw spongc egnïol iawn cyn y gall ymryddhau oddi wrth ddylanwadau crefyddol y teulu. Y mae rhan fwyaf o eppil y cyfryw deulu, pa mor ddifatter bynnag y byddont wedi myned, yn glynu yn eu proffes grefyddol, yn unig rhag newid hanes y teulu, ac ymddangos fel adar brithion ym mhlith rhai gwynion; ac ni ddylid diystyru'r teimlad anianol hwn; canys y mae wedi cadw llawer yn y cylch lle y gellir disgwyl i nerthoedd y byd a ddaw weithio arnynt.

Na frysied plant y genedlaeth hon i ymwrthod â'r ffydd a draddodwyd unwaith i'w tadau, a thrachefn iddynt hwythau gan eu tadau. Yn hytrach, dyweded pob un wrth ei dadau, "Eich Duw chwi a fydd fy Nuw i, a'ch pobl chwi a fydd fy mhobl innau." Nid eich annog yr ydwyf i lynnu wrth eich tadau trwy y tew a'r tenau, eithr wrth Arglwydd Dduw eich tadau; nac i lynu wrth gyfundeb neillduol chwaith, eithr wrth bobl Dduw, sef y rhai tebyccaf iddo ym mhob cyfundeb. Fel Pabydd y llefarwn ac nid fel Protestaniad, pe'ch cynghorwn i lynu wrth ragfarnau a chyfeiliornadau'ch tadau. Eich annog yr wyf yn unig i gadw'u ffydd, sef i lynu wrth eu crefydd—wrth bob athrawiaeth ac wrth bob arferiad y bo tuedd ynddynt i'ch gwneuthur yn ddynion hawddgar a da. Gwae'r dŷn y bo hen grefydd ei dadau yn diffoddi ac yn darfod ynddo cyn ei farw; ond gwyn ei fyd ef a sylfaeno deulu crefyddol. Bydd enw hwnnw yn fwy anrhydeddus yn y nefoedd na sylfaenydd dinas Rhufain. Chwychwi sy'n dechrau magu plant, gofelwch ar eu magu hwynt i'r Arglwydd, fel y gallo pob penteulu ar sy'n gwrandaw ddywedyd wrth ei Farnwr, yn nydd mawr y cyflwyno a'r derbyn: "Wele fi, a'r plant a roddes Duw i mi."

## XVIII.

### Y FFORDD FFORCHOG.

"*Mae ffordd a dybir ei bod yn uniawn yngolwg dyn; ond ei diwedd yw ffyrdd marwolaeth;* DIAR. XVI. 25.

GWYDDOCH mai buchedd, neu ddull dŷn o fyw y mae *ffordd* yn ei feddwl; a chan y dichon buchedd fod naill ai yn dda neu ynte yn ddrwg, yr ydys yn dywedyd yn y Bibl fod dwy ffordd; sef y ffordd union a'r ffordd drofaus; y ffordd gul a'r ffordd lydan; ffordd y gwirionedd a ffordd y celwydd; ffordd y rhai cyfiawn a ffordd pechaduriaid; ffordd Duw a ffordd dŷn. Y mae ffordd Duw yn un; am fod Duw ei hun yn un, Y mae ffordd y gwirionedd yn un; am fod y gwirionedd yn un. Y mae'r ffordd union yn un; am fod uniondeb yr un fath yn y nef ac ar y ddaear, mewn amser ac yn nhragwyddoldeb. Mewn hyd a lled y gall un llinell union fod yn wahanol i linell union arall. O ran uniondeb, y mae'r ddwy yn gwbl gyffelyb. Nid yw ffordd dŷn yn un; am nad yw dŷn ei hun yn un, ar ol ei fyned yn bechadur. Nid yw ffordd pechaduriaid yn un; am fod llawer math o bechaduriaid. "Pawb a bechasent;" ond nid yw pawb yn pechu yn yr un ffordd. Y maent oll yn yr un cyflwr; ond y maent yn wahanol iawn eu tueddiadau. Y maent oll yn cerdded tu a distryw; ond nid ŷnt oll yn cerdded yno ar hyd yr un llwybr. Y mae'r ffyrdd i uffern yn aneirif; gelli fyned yno trwy gybydddod neu trwy afradlondeb; trwy lythineb neu trwy feddwdod; trwy gamachwyn neu trwy weniaith; trwy absennu neu trwy dderbyn wyneb dŷn; trwy falchder neu trwy rith-ostyng-

eiddrwydd; trwy rysedd neu trwy ragrith; trwy fod yn hyf neu trwy fod yn llechgïaidd; trwy bechu yn gyhoeddus neu trwy bechu yn ddirgelaidd; trwy fod yn ddrwg iawn neu trwy fod yn ddiddrwg-ddidda. Ni fyn pob pechadur fod yn llofrudd neu yn lleidr neu yn odinebwr; am hynny, y mae'r diafol yn garedig iawn yn derbyn pechaduriaid mwy parchus; ac i'r rhai sy'n rhy yswil i fyned i'w dŷ trwy ddrws y wyneb, y mae efe yn agoryd un o ddrysau'r cefn. Y mae yn haws gan ddynion fyned i uffern nag i'r nef; am y gallant fyned yno trwy rodio bob un ei ffordd ei hun. Da yr ydys yn galw'r ffordd i uffern yn ffordd lydan; canys y mae'r ffordd gyffredinol hon yn cynnwys pob ffordd neillduol. Mewn gwirionedd, lliaws afrifed o ffyrdd neillduol wedi rhedeg i'w gilydd, nes myned yn un ffordd ddiderfyn, ydyw'r ffordd lydan. Nid oes iddi gloddiau o gwbl, heb law y cloddiau y sy'n ei gwahanu oddi wrth y ffordd gul. Y mae cyn lletted a'r byd; am ei bod yn gorchuddio'r byd; oddi gerth un llain o dir cyssegredig sy'n myned trwy ganol y byd i'r nef. Sathrfa gyffredin, yr hon y mae ei lled yn gymmaint a'i hyd, yw'r ffordd lydan; lle y mae troseddwyr yn gweu trwy eu gilydd, ac etto yn cyfeirio tu a'r un lle; rhai yn chwyrn, ac eraill yn araf; rhai yn weddol union, rhai yn gwbl gam, ac eraill yn igam-ogam. Gall pob un fyned i ddistryw yn ei ffordd ei hun; ond rhaid i bob un fyned i'r bywyd yn ffordd un arall. Gall dŷn farw o lawer clefyd; ond o un iechyd y bydd byw. Gall ymddyrysu mewn llawer cyfeiliornad; ond un gwirionedd a'i rhyddha. Un iechyd sy, ond y mae llawer math o afiechyd. Un gwirionedd sy; ond y mae llawer math o gyfeiliornadau. Nid oes ond un ffordd dda; ond y mae llawer o ffyrdd drwg.

Er hynny, y mae'r testyn yn sôn am ffordd heb law'r ffordd dda; sef "ffordd a dybir ei bod yn uniawn yngolwg dŷn;" ond cofier nad rhyw un ffordd sy'n

gyffredin i bawb ydyw'r ffordd honno, eithr y ffordd sy'n briodol i ryw ddŷn neillduol. Nid y ffordd sydd union yngolwg un dŷn sydd union yngolwg dŷn arall. Y mae gan agos bob pechadur ei ffordd ei hun i bechu; a honno yw'r ffordd a dybir ei bod yn union yn ei olwg ef. Mynych y clywir y cybydd yn condemnio'r afradlon, a'r afradlon yn condemnio'r cybydd; ac nid peth anghyffredin yw clywed dŷn yn escuso'i bechod ei hun, ac yn condemnio yr un a'r unrhyw bechod mewn dŷn arall. Pa sawl gwaith, er engraifft, y gwelwyd dŷn yn twyllo eraill, ac yna yn digio wrth y rheini am ei dwyllo ef? Fel rheol, nid oes un pechod yn anwyl gan ddŷn heb law ei bechod priodol ei hun. "Gwyn y gwêl y fran ei chyw;" ac union y gwel pechadur ei ffordd. Y mae hi yn union yn ei olwg, am mai ei ffordd ef ei hun ydyw. Dyma'r ffordd a chwennychodd ei gàlon yn y dechrau, a dyma'r ffordd y mae wedi arfer ei rhodio. Y mae grym serch a grym arferiad yn dallu ei lygaid rhag gweled gwyrni ei ffordd ei hun. Ond dyma'r ffordd y rhaid iddo'i gadael am byth, os myn fyned i mewn i'r nef. "Gadawed y drygionus ei ffordd." Nid gadawed ei bechod, eithr gadawed ei bechod ei hun—gadawed ei ffordd o bechu. Gadawed y meddwyn ei feddwdod; gadawed y segur ei segurdod; gadawed yr enllibwr ei enllib; gadawed y celwyddog ei gelwydd; gadawed y coeg ei goegni; a gadawed y balch ei falchder; o blegid ar hyd ei ffordd ei hun y mae dŷn yn myned i'w le ei hun.

"Y mae ffordd a dybir ei bod yn uniawn yngolwg dŷn." Y mae llawer, ysywaeth, yn rhodio ffordd wyrgam, er gwybod ei bod yn wyrgam; gan ddywedyd fel Israel gynt, "Cerais ddieithriaid, ac ar eu hôl hwynt yr âf fi;" ond y mae y rhan fwyaf, ond odid, yn rhodio'r ffordd wyrgam am ei bod yn ymddangos iddynt hwy yn union. Gwyddys *fod* ambell bechod a lliw rhinwedd ar ei wyneb; a'r

pechodau sydd hyd ryw fesur yn debyg i rinweddau sy'n twyllo y rhan fwyaf o ddynion. Er engraifft, gan fod cybydd-dod mewn rhai pethau yn debyg i gynnildeb, a bod haelioni yn debyg i afradlondeb, gan fod sarrugrwydd yn debyg i sobrwydd, a bod yscafnder yn debyg i siriol-deb; gan fod hyfdra yn debyg i wroldeb, a bod gwaseidd-dra yn debyg i ostyngeiddrwydd; gan fod segura yn debyg i orphwyso, a bod chwarau er mwyn chwarau yn debyg i chwarau er mwyn gweithio, y mae yn hawdd i ddŷn a fo yn euog o un o'r beiau hyn dybied ei fod yn ddŷn rhinweddol. Mewn gwirionedd, oni chlywsom lawer cybydd cadarn yn dywedyd "Gŵr cynnil ŵyf fi;" ac oni chlywsom lawer dyhiryn haerllug yn escuso'i haer-llugrwydd trwy ddywedyd, "Dŷn di-dderbyn-wyneb ydwyf fi?" Er fod cybydd-dod a chynnildeb, a llawer deubeth arall, yn o debyg i'w gilydd ar y wyneb, etto y maent dan y wyneb yn annhebyg iawn; ac am hynny, ni faidd neb gyfiawnhau ei hun am fethu â chanfod y gwahaniaeth rhyngddynt. Chwychwi sy'n galw'r drwg yn dda a'r cam yn gymmwys, a fuoch chwi erioed yn treulio awr i geisio canfod y gwahaniaeth rhyngddynt? A fuoch yn gweddïo ar i Dduw ddadguddio ichwi'r gwahaniaeth? Os na buoch yn gweddïo eich hunain, gwrandewch yntê ar apostol y Cenhedloedd yn gweddïo drosoch: "A hyn yr ŵyf yn ei weddïo, ar amlhau o'ch cariad chwi etto fwy-fwy mewn gwybodaeth a phob synwyr, fel y profoch y pethau sydd â gwahaniaeth rhyngddynt, ac y byddo yn gymmeradwy gennych y pethau sy ragorol." Mwy o gariad ar y da a bair ini ymwrthod â'r drwg; ond er mwyn gwybod beth *sy* dda, y mae yn rhaid i ni wrth ddau rinwedd arall, sef gwybodaeth a synwyr. Dall yw cariad, medd diareb Seisnig; ac y mae hyn yn wir am gariad ysprydol, fel am gariad naturiol. Yn awr, gwybodaeth a synwyr yw dau lygad cariad, â'r rhai y mae yn gweled

ac yn gwahaniaethu rhwng pethau tebyg. Gan hynny mynnwn wybod a gwneuthur yr hyn sydd iawn, bydded gennym gariad perffaith, sef cariad â dau lygad yn ei ben.

Ond, yn ol y testyn, y mae yn hawdd ini ywbod y ffordd yr ŷm yn ei rhodio, trwy edrych ym mha le y mae hi yn diweddu. Y mae'r ffordd union yn parhau yn union hyd y diwedd; ond y mae'r ffordd a dybir ei bod yn union, yn fforchogi yn ffyrdd, a phob un o'r ffyrdd hynny yn tywys i angau. Y mae'r ffordd dwyllodrus hon yn rhedeg am ennyd yn gyfochrol â'r ffordd union; ond o fesur ychydig ac ychydig, y mae'r ffordd hon yn gwyro oddi wrth y ffordd union, ac yn y man yn arwain i ffyrdd eraill newyddion. Efallai na allwn fod yn sicr ini weled neb a gychwynodd rodio ffordd amheus yn cwympo yn y pen draw dros y dibyn i uffern; ond y mae yn sicr ini weled llawer un yn ymddyrysu yn y ffordd sydd yn arwain i uffern. Yr oedd y gwr ieuangc yn tybied na byddai efe ddim gwaeth o ddilyn meluswedd buchedd dros dymmor, a'r gŵr canol oed yn tybied na thegid mo'r gair ynddo yntau, er ymroddi o hono i ofalon y byd hwn. Gobeithio yn wir nad ydynt ddim gwaeth nag yr oeddynt hwy eu hunain yn tybied y buasent; ond, a bwrw na chollasant ddau neu dri o rinweddau a oedd yn eu harddu yn yr amser a fu, y maent yn ddïau wedi colli rhywbeth—y maent wedi colli blas ar bethau ysprydol; a pha golled waeth na hynny? Nid ŷnt yn profi gair. Duw mor ddaionus ag ydoedd gynt, nac yn teimlo cymmaint o nerthoedd y byd a ddaw. Y maent yn clywed clychau'r nef yn seinio yn wannach, o achos eu bod ym mhell; ac yn clywed clychau uffern yn seinio yn gryfach gryfach, o achos eu bod yn agos. Ni pherthyn i mi farnu eu cyflwr, na dyfalu beth a fydd eu tynged; ond y mae yn weddus imi ddywedyd eu bod mewn enbydrwydd mawr; canys y *maent ar ffyrdd* marwolaeth.

"Mae ffordd a dybir ei bod yn uniawn yngolwg dŷn; ond ei diwedd yw ffyrdd marwolaeth." Ffordd sy'n tywys i ffyrdd yw hon yma; a hynny sy'n profi ei bod yn ffordd dwyllodrus. Y mae pob pechod yn escor ar bechodau; ac er fod y fam yn deg yr olwg, y mae'r eppil yn hagr iawn. *Un* o ferched Laban a fynnai Iago ei chael yn wraig; ond er mwyn cael un o'r merched, gwelodd efe fod yn rhaid iddo briodi'r holl ferched, a'u morwynion hefyd yn y fargen. Y mae pechodau wedi dyfod i'r byd yn deuluoedd, ac wrth ymgyfathrachu ag un pechod, y mae math o orfod ar ddŷn i ymgyfathrachu â holl berthynasau y pechod hwnnw; pa un bynnag a fyddont ai teg ai hagr. Pan y caffo un yspryd aflan fyned i mewn i ddŷn, y mae yn cymmeryd atto saith yspryd eraill gwaeth nag ef ei hun; ac y mae diwedd y dŷn hwnnw yn waeth na'i ddechreuad. Hwyrach mai cythraul bach digon diniwed a ollyngodd efe i mewn; a hynny yn lladradaidd, megis trwy y ffenestr; ond wedi iddo unwaith fyned i mewn, y mae'r cor o gythraul yn agor y drws i gawr o gythraul. Nid hir yr erys pechod cyntafanedig dŷn yn unig-anedig. Gellir galw ei enw ef Gad; canys y mae tyrfa yn dyfod. Pan fynno dŷn guddio, neu ynte gyfiawnhau ei bechod cyntaf ac anwylaf, fe'i temtir i bechodau newyddion, megis celwydd a thwyll. Pan y'i cyhudder, hyd yn oed yn garedig ac yn ei wyneb, y mae yn chwannog i ddigio; ac y mae ei ddigofaint yn myned yn y man yn gasineb, a'i gasineb yn myned yn ddialgarwch; ac y mae'r dŷn dialgar ar y ffordd i fyned yn darawydd, a hyd yn oed yn llofrudd. Y mae i bob pechod ryw nifer o frodyr sy bron bob amser yn cydymdeithio âg ef; ac wrth ymgyfeillachu ag un brawd hawddgar, y mae dŷn yn ymheddychu â'r brodyr anhawddgar. O hir ymarfer â'r pechod sydd hoff ganddo, y mae yn raddol yn ymgymmodi â'r pechodau sy gas ganddo. "Ai ci yw dy was, fel y gwnelai efe y mawr beth hyn?"

ebe Hasael wrth Eliseus. Ci neu beidio, ebe'r proffwyd, mewn effaith, y mae dy uchelgais yn fy argyhoeddi y gelli fyned yn fwy didosttur nag yr wyt ti yn awr yn meddwl. Buasai yn chwith iawn gan Dafydd glywed neb yn dywedyd y parai efe ladd un o'i weision ffyddlonaf; ond wedi iddo droseddu'r seithfed gorchymmyn, bu yn hawdd ganddo droseddu'r chweched hefyd. Ariangarwch yn unig oedd gwreiddyn pob drwg a wnaeth Suddas; ond o fod yn gybydd aeth yn lleidr, ac o fod yn lleidr aeth yn fradwr. Y mae llawer ffordd a dybir ei bod yn union yn tywys i ffyrdd ceimion iawn; ac y mae bachgen bychan o bechod yn arwain y llew a'r llewpart, a llawer bwystfil rheibus arall. Y mae gan y Ffrangcod y ddihareb filwrol hon: "colli hoelen, colli byddin;" ac fel hyn y maent yn ei hesponio: Y mae colli hoelen yn peri colli pedol; y mae colli pedol yn peri blinder i'r march; y mae'r march yn peryglu'r marchog; y mae'r marchog, o fethu âg ymgadw yn y rheng, yn dyrysu'r fintai; ac y mae dyryswch y fintai yn dwyn yr holl fyddin i enbydrwydd.

Gyfeillion ieuaingc, na thybiwch mai bychan yw'r pechod hwnw y sy'n eich gwthio rhagoch o ddrwg i waeth; na thybiwch mai union yw'r ffordd honno y sy'n eich arwain ymaith i ffyrdd marwolaeth. Chwantau ynfyd a niweidiol yw'r chwant am olud, y chwant am anrhydedd a'r chwant am ddifyrrwch, yn boddi dynion i ddinistr a cholledigaeth. A welsoch chwi gyfres o ddarluniau yn egluro descrifiad Victor Hugo o ddŷn yn soddi mewn lle lleidiog ar lan y môr. Daccw fo yn awr yn rhodio yn yscafala, a'i ben yn y gwynt, ar y traeth cadarn, esmwyth; ond yn y man, y mae yn dyfod i siglen o draeth byw; er bod y gaenen o dywod sych y sy'n gorchuddio'r traeth hwnnw yn peri iddo ymddangos yn draeth cadarn. Y mae ei draed yn awr yn dechrau suddo yn y tywod, a *rhywbeth* oddi tanodd yn cydio ynddynt fel glud neu byg;

er hynny, nid yw efe yn gweled dim etto ond y dwfr y sy'n llenwi olion ei draed; am hynny, y mae yn cerdded rhagddo, gan ddisgwyl dyfod yn ebrwydd i le cadarnach. Erbyn hyn, y mae yn methu â myned rhagddo, ac yn methu â throi yn ol chwaith. Y mae'r haen o dywod yn ymollwng dano, a'r siglen yn ei dynnu iddi ei hun. Y mae yntau yn myned i lawr, i lawr, hyd at y fferau, hyd at y gliniau, hyd at y wasc. Y mae yn gweled y bedd yn dyfod i fyny i'w gyfarfod, ac yn bygwth ei lyngcu yn fyw, ac yn ei ddillad, gan ei farwolaethu a'i gladdu ar yr un pryd. Y mae yn crafangu, yn gwingo, yn ymdreiglo; ac wrth hynny yn suddo yn ddyfnach. Y mae yn edrych yn wyllt tu a'r lan, tu a'r môr, a thu a'r nef; ond nid oes dim gwared. Y mae yn dolefain yn groch; ond nid oes neb yn clywed. Bellach, y mae yn y siglen hyd at ei wddf. Y mae'r genau yn gwaeddi; ac y mae'r llaid yn eu llenwi—a dyna ddistawrwydd. Y mae'r llygaid etto yn edrych o amgylch am waredydd, ac y mae'r llaid yn eu llenwi hwythau—a dyna dywyllwch. Ni welir mwyach ond ychydig o flew'r coryn yn chwyfio yn yr awel. Na, y mae darn llaw yn dyfod i'r golwg, ac mewn eiliad yn myned *o*'r golwg, fel pob peth arall. Agorodd y ddaear ei safn a llyngcodd y dŷn yn fyw; "a'i le nid edwyn ddim o hono mwy." "Gwelais yr annuwiol yn gadarn, ac yn frigog fel y lawryf gwyrdd, a wele, nid oedd mwy o hono; a mi a'i ceisiais, ac nid oedd i'w gael." A ydym yn cyffroi mwy wrth weled *corff* dŷn yn colli ei ffordd ac yn colli ei einioes nag wrth weled ei enaid yn gwyro i ffyrdd marwolaeth, ac yn cwympo yn y diwedd i ddinistr ysprydol a cholledigaeth dragwyddol? Colli'r ffordd i Baradwys yw'r golled erchyll. Angau enaid sy'n angau poenus. Yr olwg ar yspryd yn soddi sy'n olwg ofnadwy.

Wrandawr mwyn, a ŵyt ti yn teimlo fod dy wadnau yn dechrau glynu wrth y ddaear? Os ydwyt, y mae hi yn

hên bryd iti droi yn ol; canys y mae hynny yn arwydd dy fod yn sangu ar gwr y traeth byw. Yr wyt wedi gadael y ffordd union; wedi myned i ben draw y ffordd a *dybir* ei bod yn union, ac wedi troi i un o ffyrdd marwolaeth—ffordd na fynnet ti dy hun mo'i chanmol, nac annog y rhai sydd anwyl gennyt i rodio ar hyd-ddi. A ddywedi di na chrwydraist etto mor bell? Er hynny, medd y proffwyd, "Edrych dy ffordd yn y glyn," a gwel a ydyw yn ymddangos iti mor union o'r pen yma ag ydoedd o'r pen arall. A ydyw ei diwedd cystal gennyt a'i dechrau? Os felly, pa ham, medd yr un proffwyd, y gwibi dy gymmaint i newidio dy ffordd? Pa ham yr ŵyt ti weithiau yn cymmeryd y ffordd hon, ac weithiau yn cymmeryd y ffordd accw? Pa ham yr ŵyt yn ceisio dy wynfyd heddyw fel hyn, ac yfory fel arall? Onid yw dy betrusder, a'th aflonyddwch a'th anwadalwch, yn profi nad ŵyt ar y ffordd iawn? Fel hyn y dywed yr Arglwydd: "Sefwch ar y ffyrdd, ac edrychwch a gofynnwch am yr hên lwybrau, lle y mae ffordd dda, a rhodiwch ynddi; a chwi a gewch orphwysdra i'ch eneidiau." Ar yr hên ffordd y byddwch fwyaf diddig. Os yw yn garregog, nid yw yn lleidiog fel y ffyrdd newyddion. Odid na ellwch friwo'ch traed arni; ond nid oes berygl ichwi soddi ynddi.

Ond pa beth a ddywedaf wrth y rhai sy newydd gychwyn ar y ffordd a dybir ei bod yn union, ac sydd etto heb gyrraedd y ffyrdd y mae yn sicr eu bod yn ffyrdd marwolaeth? Yspryd Duw yn unig a all argyhoeddi y rhain eu bod ar ffordd beryglus; canys y maent hwy yngolwg y ffordd union. Y maent yn gweled y pererinion yn cerdded ar hyd-ddi, ac yn tybied eu bod hwy eu hunain yn cerdded yn yr un cyfeiriad a hwythau. Y maent yn eu clywed yn canu hên ganiadau Sïon; ac weithiau yn cipio'r *dôn,* ac yn canu gyd â hwynt, gan ddywedyd,

"Tyr'd Yspryd santaidd, ledia'r ffordd,
Bydd imi'n niwl a than;
Ni cherdda'i 'n gywir hanner cam
Oni byddi di o'm blaen."

Ond canant hwy bennillion tebyg wrth ddychwelyd adref mewn trên rhad, ar ol bod yn ymbleseru hyd yn hwyr nos Sadwrn yNghaerlleon neu ym Manceinion. Y maent yn ymadaw yn raddol oddi wrth y ffordd union, am fod eu calon yn ymadaw oddi wrth y Duw byw. Y maent yn dechreu cwestiyno ac ymescuso, gan ddywedyd, "Pa faint gwaeth ydym o chwarau yn y maes, neu o ddawnsio mewn stafell gyhoeddus gyd â chymdeithion drwg a da?" Y mae hi yn rhy fuan i atteb cwestiwn o'r fath yna; ond nid yw hi yn rhy fuan i ofyn, Pa beth a fydd y diwedd? "Yr ŷm yn tybied," meddant, "nad yw dilyn yr arfer fasnachol hon, a'r ddefod gymdeithasol arall, ddim yn niweidiol nac yn anweddus chwaith." Onid ych yn sicr? ac os nad ych yn sicr, ystyriwch beth a fydd y diwedd. "Y mae ffordd a dybir ei bod yn uniawn; ond ei diwedd yw ffyrdd marwolaeth." Gochelwn y ffordd âg iddi geingciau yn myned i ddistryw.

"Adda, pa le yr wyt ti?" Gyd bechadur, ar ba ffordd yr ydwyt? Ai ar ryw ffordd a dybir ei bod yn union ai ynte ar ffordd na thybir ei bod yn union, sef ar un o ffyrdd marwolaeth? Pa un bynnag ai hyd gan llath ai hyd gan milldir y crwydraist oddi wrth y ffordd union, yr ŵyt mewn perygl; am hynny, dychwel. "Ymchwel Israel at yr Arglwydd dy Dduw." A glywi di? y mae'r Arglwydd yn siarad â thi o hyd, ac yn parhau i arddel y berthynas agos sy rhyngot ac ef—"yr Arglwydd dy Dduw;" "Israel fy ngwas." Gwas anfuddiol ydwyt; gwâs er hynny. Mab afradlon ydwyt; mab er hynny, "Ymchwel at yr Arglwydd dy Dduw." Ymchwel; os na fedri *ddy*chwelyd, fe fedri *ym*chwelyd; os na fedri

gerdded, fe fedri ymdreiglo ar dy liniau, "Ymchwel; canys ti a syrthiaist trwy dy anwiredd." Yr ŵyt wedi dyscu syrthio er yn fore. Syrth etto oddi wrth dy anwiredd, fel y syrthiaist gynt i'th anwiredd. Syrth ar y breichiau tragwyddol sy'n barod i'th dderbyn—ar y breichiau tragwyddol sydd oddi tanodd—oddi tanodd, yn îs na gwaelod dy fai. Er iti fyned i ffyrdd marwolaeth, y mae trugaredd anfeidrol y Tad, a haeddiant anfeidrol y Mab rhyngot a marwolaeth ei hun; er iti fod wedi soddi yn ddwfn yn y pridd tomlyd, etto, os yw dy enau uwch law'r wyneb, gwaedda yn unig ar Dduw, ac fe'th gyfyd efe allan, ac fe hwylia dy gerddediad tu a thir y bywyd.

# XIX.

## CARU DIFYRRWCH.

"*Y neb a garo ddifyrrwch a ddaw i dlodi;*" DIAR. xxi. 17 (A).

Yn ol rhai o'r hên gyfieithiadau, 'Y neb a garo chwarau *(sport)* a ddaw i dlodi."

Y MAE'R Cymry yn y dyddiau hyn yn cyhuddo pregethwyr Lloegr o bregethu ar ddigwyddiadau mawr a mân yr wythnos yn lle pregethu'r efengyl, a'r Saeson hwythau yn cyhuddo pregethwyr Cymru o bregethu eu hefengyl gul eu hunain yn lle pregethu'r gair, sef holl gyngor Duw. Efallai fod cymmaint o wir yn y naill gyhuddiad ag sydd yn y llall. Ond os ydys yn Lloegr yn sôn rhy ychydig am y byd a ddaw, ac yNghymru yn sôn rhy ychydig am y byd drwg presennol, y mae agos gymmaint o'r bai ar y gwrandawyr ag sydd ar y pregethwyr. A siarad yn gyffredinol, gellir dywedyd fod y gwrandawyr ym mhob gwlad ac ym mhob cyfundeb yn cael yr hyn y maent yn ei ofyn. Y mae yn wir y byddai yn dda gan wrandawyr pob cyfundeb pe bâi gan eu pregethwyr fwy o ddawn; ond dawn i ba beth tybed? Dawn i'w boddhau hwynt ac nid i'w llesâu. Dawn i gynhyrfu eu teimlad ar y pryd, ac nid dawn i'w cymmell i iawn-ymddwyn dros chwe diwrnod ar bwys y teimlad hwnnw; dawn i'w cymmell i orfoleddu ac nid i weithredu; i ddawnsio o flaen yr arch ac nid i rodio gyd â Duw. I ni, y Cymry, y sy'n well gennym deimlo yn hyfryd na byw yn ddifrycheulyd, nid oes un feddyginiaeth well na darllen llawer ar Lyfr y Diarhebion, epistol Iago, a phregethau syml a thawel Iesu Grist. Y mae yn ddiau

pe buasai nifer o Gymry wedi eu pennodi i gynnorthwyo Ezra ac Iddewon eraill i benderfynu pa scrifeniadau oedd yn haeddu eu dwyn i mewn i'r Hên Destament, y buasai y rhan fwyaf o honynt yn dadlau dros adael heibio Lyfr y Diarhebion, am ei fod mor oeraidd, mor ddeddfol ac mor fydol. Anfynych iawn y bydd yn wiw genym ddewis testyn pregeth o'r llyfr hwn; a phan y gwnawn, rhaid ini gael ysbrydoli'r testyn hwnnw, er mwyn ei wneyd yn fwy efengylaidd. Dyweder nad oes dim efengyl yn y Diarhebion, gallant er hyny fod yn fuddiol iawn i ni, canys y mae'r Ysbryd Glân nid yn unig wedi cynhyrfu dynion i hysbysu ini ffordd iachawdwriaeth, ond hefyd wedi cynhyrfu dynion i'n dyscu pa fodd i fucheddu mewn gwahanol amgylchiadau. Efengyl synnwyr cyffredin ydyw Llyfr y Diarhebion; ond synnwyr cyffredin ar ei orau: synnwyr cyffredin wedi ei ireiddio âg awen farddonol. Y mae yn wir nad yw'r awdwr neu'r casclwr yn sôn dim am y cymhellion uchaf. Am resymmau bydol, ac er mwyn gwobrwyon daearol, y mae efe yn ein cymmell i weithredoedd da. Nid yw yn sôn dim am anfarwoldeb yr enaid, am nef nac am uffern, yn ystyr cyffredin y gair; ac y mae yn bur amheus a oedd yr Iddewon yn gwybod am y pethau hyn hyd oni chymmerwyd hwynt i Babilon. O leiaf, yn yr Apocryff, a'r llyfrau a scrifennwyd ar ol y caethiwed, y dechreuwyd eu dyscu yn eglur. Ond y mae llawer o ddyledswyddau mor resymmol, neu ynte mor fuddiol, fel y dylai dŷn eu gwneuthur pe na bâi nef ac uffern yn bod; a dyledswyddau o'r fath yma a geir gan mwyaf yn y Diarhebion. Pa ham, er engraifft, y dylai dŷn ymgadw rhag caru difyrrwch? Ai am fod caru difyrrwch yn ei dynu tu ag uffern? Nage ddim, yn ol y testyn; ond am fod hynny yn ei ddwyn i dlodi yn y byd hwn. Y mae hyn ei hun yn ddigon i ddangos fod caru difyrrwch yn ddrwg.

Dealler nad yw'r testyn yn dywedyd, ac nad ŵyf finnau yn dywedyd fod pob math o ddifyrrwch, neu bob mesur o ddifyrrwch yn ddrwg bob amser: mewn caru difyrrwch y mae'r drwg; canys y mae'r neb a garo ddifyrrwch yn ymddifyrru dros fesur, ac ar gam amser, ac hefyd yn gwneyd y peth lleiaf yn beth mwyaf, trwy wneyd tegan yn drysor, ac fe gydnebydd y gwrandawr rhyddaf ei syniadau fod hynny yn annheilwng o ddŷn chweithach o Gristion. Hyd yn oed ynddo'i hun, nid difyrrwch yw'r hyfrydwch uchaf: yn hytrach, y math isaf yw o bob hyfrydwch. Tri math o hyfrydwch neu fwyniant sy'n bod, sef difyrrwch, dedwyddwch a gwynfyd. Hyfrydwch y plentyn a'r anifail yw difyrrwch; hyfrydwch y dŷn llawn dwf yw dedwyddwch, a hyfrydwch y sant a'r angel yw gwynfyd. Yn y nef gyntaf, sef nef y synhwyrau, y mae'r dŷn difyr; yn yr ail nef, sef nef y cynneddfau, y mae'r dŷn dedwydd; ac yn y drydedd nef, sef nef y dyheadau, y mae'r dŷn gwynfydedig. Byw yn y corff y mae'r dŷn difyr; byw yn yr enaid y mae'r dŷn dedwydd; a byw yn yr yspryd y mae'r dŷn gwynfydedig. Ond fel y dichon i blentyn deallus feddu peth o ddedwyddwch y dŷn felly y dichon i ddŷn da feddu peth o wynfyd y sant. O leiaf, y mae gan y dŷn tra duwiol ar y ddaear *obaith* gwynfydedig; ac y mae gobaith da am wynfyd y nesaf peth i wynfyd ei hun. Y mae gwynfyd yn llyngcu dedwyddwch iddo'i hun, ac y mae perffaith ddedwyddwch yn bwrw allan ddifyrrwch; canys pan y bo dŷn yn ddedwydd, y mae yn peidio âg ymddifyrru, am yr un rheswm ag y bydd efe yn diffoddi cannwyll pan ymgodo'r haul. Y dŷn annedwydd, a hynny am ei fod yn annedwydd, sy'n ymroi i ddifyrrwch. Efe yn sicr yw'r dŷn truenusaf o bawb; a phe buasai gymmaint ag unwaith yn ei oes wedi profi dedwyddwch, buasai wedi marw o hiraeth a thor-càlon. Y mae yn gallu ymddygymmod â'i anned-

wyddwch, yn unig am na ŵyr pa beth ydyw dedwyddwch.

Y mae yn wir fod y dŷn dedwyddaf yn annedwydd ar brydiau yn y byd hwn; ac ar y prydiau hynny y mae yn gyfreithlon iddo ymddifyrru; ac y mae yn gyfreithlon iddo bob amser ddifyrru eraill, sef y sawl a fo wedi colli eu dedwyddwch, a'r sawl a fo o herwydd eu hieuengtid heb gaffael dedwyddwch. Wrth ddifyrru plant, yn enwedig, y mae'r dŷn oedrannus yn chwanegu at ei ddedwyddwch ei hun. Y mae natur ei hun yn dangos fod yn rhydd i blant ymddifyrru llawer; am nad oes ganddynt hwy ddigon o wybodaeth a deall i allu mwynhau dedwyddwch. Ie, dywedaf fwy: y mae gan ddŷn duwiol fwy o hawl i ymddifyrru nag sy gan ddŷn annuwiol. Os dywed rhai o honoch mai chwithig a fyddai gweled dŷn yn dawnsio ar y ffordd sy fry, dywedaf finnau mai mwy chwithig o lawer yw gweled dŷn yn dawnsio ar y ffordd sy'n myned tu ag uffern obry. O! y mae yn rhyfedd fod dŷn yn gallu chwarau na chwerthin, cyn trefnu'r matter mawr rhyngddo a'i Farnwr. "Hyn yw gwaith Duw"—hyn yw'r gwaith y mae Duw yn ei ofyn gennych: "credu o honoch yn yr hwn a anfonodd efe." Bobl ieuaingc, gwnewch y *gwaith* hwn i ddechrau, ac os dyry'ch cydwybod gennad ichwi wedyn i fyned allan i chwarau, ni bydd gennyf fi, gan nad beth am eraill, ddim gair i'w ddywedyd yn eich erbyn. Y mae gennyf fi lawer o ymddiried yn y rhai sydd wedi ymddiried am danynt eu hunain i Fab Duw. Os chwery y rhain, chwareuant yn deg, yn weddus, a chyd â rhai o'r un anian a chymmeriad a hwynt-hwy eu hunain.

Ni bûm i erióed yn chwarau fawr fy hun oddi gerth gyd â phlant: er hyny, fe gredwch nad ŵyf ddim yn rhagfarnllyd a Pharisiaidd pan addefaf wrthych fy mod i yn credu *fod* drygau gwaeth hyd yn oed na chwareuon y dyddiau

hyn, ac fod llawer o'r rhai sy'n condemnio chwareuon a difyrion eraill, yn euog o ddrygau gwaeth eu hunain. Ar ol imi ddywedyd cymmaint a hyn, oni ddywedwch chwithau bellach yngwaelod eich càlon, fod chwarau yn y wlad hon wedi myned erbyn hyn yn gynddaredd—yn glefyd, y sy'n beryglus i'r chwareuwyr eu hunain, ac yn flinder i bawb eraill â chanddynt syniad gweddol uchel am fywyd.

Yn y lle blaenaf, fe gydsyniwch oll fod chwareuon y sy'n niweidiol ynddynt eu hunain, yn ddrygau digymmysc, na ddylid ymarfer â hwynt o gwbl. Ym mhlith y rhain, y mae pob math o chwarau damwain, a'r betio y sydd ynglŷn â chwareuon eraill; canys y mae pawb a'r sy'n ymroi i hyn yn peri colled, naill ai iddynt eu hunain neu ynte i eraill; ac nid yw yn iawn i ddŷn níweidio un arall, nac yn iawn iddo roi cyfleusdra i neb arall i'w niweidio yntau. Y mae fforffedu ychydig yn y gobaith o ennill llawer heb lafurio, yn beth y mae'r Sais yn chwannoccach i'w wneuthur na'r Cymro. Yn Lloegr, y mae hapchwarau yn fwy cyffredin na dim chwarau arall; ac er nad yw mor hawdd cyfrif y rhai sy'n gamblo a chyfrif y rhai sy'n meddwi, etto fe dystiolaethodd un o'r dirwestwyr enwoccaf fod y betwyr a'r hapchwareuwyr yn lliosoccach o lawer na'r meddwon. YNghymru, nid yw'r chwarau hwn mor uchel ei ben; ond y mae yn ffynnu yn ddirfawr yn y blynydd-oedd hyn, hyd yn oed ym mhlith crefyddwyr. A siarad yn gyffredinol, gellir dywedyd fod y rhai sy'n ewyllysio ymgyfoethogi yn y ffordd hon yn dwyn eu hunain i brofedigaeth a magl, a llawer o chwantau ynfyd a niweidiol, fydd yn boddi dynion i ddinistr a cholledigaeth.

Heb law chwarau damwain, y mae amryw o chwareuon eraill a'r sy'n waharddedig, am eu bod yn chwareuon creu-lon. Y mae'r Saeson a'r Spaeniaid yn galw rhai o'u chwareuon yn *manly sports*—yn wrol-gampau, nad ydynt

yngolwg cenedloedd mwy gwareiddiedig yn ddim amgen na chwareuon anifeilaidd. Hwyrach fod saethu colommennod dofion wedi eu hanafu, a chicio pêl droed, yn fanteisiol i fagu milwyr; ond ni ddywed neb oddi gerth Saeson anianol, a Chymry Seisnigedig, fod y naill na'r llall yn fanteisiol i fagu dynion. Eddyf pob hanesydd diragfarn fod pob un o'r cenedloedd Celtig yn fwy gwâr a llednais, wrth naturiaeth, na'r cenedloedd Teutonig. Gan hynny, os yw'r dosbarth mwyaf penwan o'r Cymry yn y dyddiau hyn yn ymroddi i chwareuon gerwin, y maent yn gwneyd hynny yn hytrach o waseidddra, ac o awydd dynwared y neb a'u gorchfygodd, nag o duedd naturiol. Ond y perygl ydyw i'r arfer ddynwaredol hon fyned yn ail natur yn y man. Os mynnwch ddynwared y genedl a'ch darostyngodd, dynwaredwch hi yn ei phwyllineb, ei dewrder, ei dyfalwch, ei sefydlogrwydd, a'i hunan-barch, ac nid yn y pethau sy'n ei gwneyd yn blentynaidd ac yn anifeilaidd. Cofiwch fod cenedloedd pell yn barnu'n cymmeriad wrth natur ein chwareuon; ac os gwelant fod chwareuon Lloegr yn ffynnu yNghymru hefyd, barnu a wnânt fod y Cymry mor ddichwaeth a'r Saeson. Y mae yn deg imi ddywedyd fod hyd yn oed chwareuon y Saeson a'r Spaeniaid yn llai creulon na chwareuon yr Israeliaid yn amser Dafydd. Fel y gwyppoch beth oedd y chwarau gwych ym mhlith llangciau Israel yn yr amser hwnnw, darllenaf i chwi ddwy neu dair o adnodau yn ail Lyfr Samwel: "Ac Abner a ddywedodd wrth Ioab, cyfoded yn awr y llangciau, a chwareuant ger ein bronnau ni, a dywedodd Ioab, cyfodant." A pha beth, tybed, ydoedd y chwarau? Gwrandewch ym mhellach: "Yna y cyfodasant ac yr aethant drosodd dan rif, sef deuddeg oddi wrth Isboseth a deuddeg o weision Dafydd. A *phob* un a ymaflodd ym mhen eu gilydd, ac a yrrodd ei *gleddyf* yn ystlys ei gyfaill; felly y cydsyrthiasant." Dy-

weder a fynner, y mae'r byd yn myned rhagddo, er yn araf; ac ym mhen dau gan mlynedd etto, y mae yn debygol y bydd chwareuon presennol Brydain mor adgas gan ein hiliogaeth ag yw hên chwarau'r Israeliaid gennym ninnau.

Heb law y chwareuon a'r difyrion y sy'n niweidiol ynddynt eu hunain, ac felly yn niweidiol i bawb, y mae ambell ddifyrrwch, yr hwn, er nad yw yn niweidiol i bawb, sy'n niweidiol i rai. Fel y mae ambell ymborth a'r sy'n dygymmod â rhai nad yw yn dygymmod âg eraill, felly y mae ambell ddifyrrwch a'r sy'n llesol i rai, nad yw ddim yn llesol i eraill. Mewn pethau sydd ynddynt eu hunain yn ddiddrwg-didda, cydwybod a rheswm dŷn ei hun a all yn orau ddangos pa beth sydd dda a pha beth sydd ddrwg iddo ef. Os yw'r difyrrwch hwn yn galluogi rhywun i wneuthur ei ddyledswyddau crefyddol yn fwy egnïol, yna y mae'r cyfryw ddifyrrwch yn hytrach yn dda nag yn ddrwg iddo ef. Os yw'r unrhyw ddifyrrwch yn peri i rywun arall esceuluso'i ddyledswydd, yna y mae'r difyrrwch hwnnw yn ddrwg iddo ef; ac y mae cymmaint o ddyled arno i lwyr ymwadu â'r cyfryw ddifyrrwch a phe buasai yn ddifyrrwch anghyfreithlon. "Y mae hwn a hwn," medd rhywun, "yn ymddifyrru fel a'r fel, a rhaid i bawb addef ei fod yn well o wneyd hynny." Purion; os gellir bod yn sicr ei fod yn well trwy ymddifyrru felly, ni fynnwn i mo'i feio, ac ni fynnwn i neb arall ei feio. Ond y pwngc ydyw, a fyddet ti yn well o ymddifyrru yn gyffelyb. Paid a brysio i atteb y funud hon: myn gael amser cyfaddas i ystyried. Dos i'th stafell, a chau'r drws arnat, a thynn y llenni dros y ffenestri, ac yna ynghanol y tywyllwch a'r tawelwch, dod dy glust wrth dy gydwybod, er mwyn clywed beth a ddywed hi. Atti hi yr ŵyf fi yn appelio, ac nid at y Bibl; canys ni wn i am un adnod a wnâi'r tro gennyt. Pa raid oedd i Dduw dy drin fel

plentyn, trwy roi rheol bendant i'th gyfarwyddo ym mhob achos, ac yntau wedi rhoddi iti synnwyr a chydwybod? Meithrin dy synnwyr; cyweiria dy gydwybod; neu yn iaith y Bibl, "Cadw dy gàlon yn dra diesceulus," ac fe'th geidw hithau dithau rhag esceuluso dy ddyledswyddau, ac fe'th gyfarwydda yn dy holl ffyrdd. Pe bawn i, wrth sôn am bethau amheus, yn dynwared y meistr yscol, gan ddywedyd, "Na wna hyn, ac na wna hynny," y mae yn fwy na thebygol mai ymddadlau â mi a wnaet yn dy galon; am hynny, rhag iti gael lle i godi gwrthddadl o gwbl, dywedyd a wnaf, Gwna fel y mynnot. Ymddifyrra nes anghofio dy hun. Yn unig cofia dy Greawdr; cofia ddyddiau tywyllwch; cofia'r farn. Geiriau gwirionedd a sobrwydd, ac nid geiriau gwatwarus, a lefarodd y Pregethwr, pan y dywedodd fel hyn: "Gwna yn llawen ŵr ieuangc, yn dy ieuengctid, a llawenyched dy galon yn nyddiau dy ieuengctid, a rhodia yn ffyrdd dy gàlon, ac yngolwg dy lygaid; ond gwybydd y geilw Duw di i'r farn am hyn oll." Bydd hyd yn oed ein difyrrwch yn gyssegredig, os ymddifyrrwn yngolau'r farn a'r byd tragwyddol.

Cyn tewi â sôn am ddifyrrwch diddrwg-didda, byddai yn burion imi ddywedyd fod ambell ddifyrrwch cyfreithlon y sydd er hynny yn anweddus i rai. Y mae rheswm yn dangos nad yw difyrrwch y plentyn ddim yn gweddu i ddŷn; nad yw difyrrwch mab ddim yn gweddu i ferch, na difyrrwch merch ddim yn gweddu i fab; ac nad yw difyrrwch dŷn mewn un sefyllfa ddim yn gweddu i ddyn mewn sefyllfa arall. Yr unig beth a ellir ei ddywedyd yn erbyn difyrrwch ambell ddŷn yw ei fod yn ddifyrrwch plentynnaidd; yr unig beth a ellir ei ddywedyd yn erbyn difyrrwch ambell fab yw ei fod yn ddifyrrwch benywaidd; yr unig beth a ellir ei ddywedyd yn erbyn difyrrwch ambell ferch yw ei fod yn ddifyrrwch gwrrywaidd;

a'r unig beth a ellir ei ddywedyd yn erbyn difyrrwch ambell ddŷn tlawd yw ei fod yn rhy gostus iddo ef. Yr unig beth, meddaf; ond y mae hwnnw yn beth pwysig; am fod dywedyd fod rhywbeth yn anweddus yn nesaf peth i ddywedyd ei fod yn anghyfreithlon.

Ar ol sôn yn y lle blaenaf am ddifyrrwch anghyfreithlon, ac yn yr ail le am ddifyrrwch anweddus, soniaf bellach am ddifyrrwch cyfreithlon. Yn awr, y mae'r testyn yn dywedyd fod *caru* hyd yn oed y difyrrwch hwn yn dwyn dŷn i dlodi; a pha ddifyrrwch bynnag a baro niwed i ddŷn, y mae hwnnw yn ddifyrrwch pechadurus. Pan oeddwn yn awgrymmu dan y pen cyntaf fod rhyw chwarau neu gilydd yn anghyfreithlon, hwyrach fod rhywun yn barod i wrthddywedyd nad oedd y chwarau hwnw ar y gorau yn ddim amgen na chwarau anweddus; a phan oeddwn yn awgrymmu dan yr ail ben, fod chwarau arall yn anweddus i hwn a'r llall, hwyrach fod rhywun yn taeru ynddo'i hun fod y chwarau hwnnw yn gwbl gyfreithlon. Os felly, ni byddai yn ddoeth i mi ymddadlau yn gyndyn âg undyn ar dir nad yw ei gydwybod ef ei hun yn tystiolaethu ei fod yn dir cadarn; am hynny cyfarfyddaf âg ef ar ei dir ei hun, a bwriaf nad yw'r difyrrwch y mae efe yn ei fwynhau nac anghyfreithlon nac anweddus. Beth er hynny? a ydyw pob peth sy'n gyfreithlon ynddo'i hun yn gyfreithlon hyd yr eithaf? Y mae'r fath beth yn bod ag anghymmedroldeb; ac mewn pethau cyfreithlon y gellir bod yn anghymmedrol. Y mae bwytta ac yfed yn gyfreithlon, ïe, yn wir, yn angenrheidiol; ond y mae bwytta ac yfed yn anghymmedrol yn bechod—yn un o'r saith bechod marwol, yr hwn y mae'r Eglwys yn ei osod ar yr un tir a'r chwe phechod hyn, sef balchder, cenfigen, dygasedd, cybydd-dod, diogi, a godineb. Pwy bynnag sy'n *caru* difyrrwch, y mae hwnnw yn ymddifyrru yn anghymmedrol; pwy bynnag y mae yn well ganddo chwarau na

gweithio, y mae hwnnw yn euog o bechod, yn erbyn Duw a dŷn. "Nid da gormod o ddim," medd y ddihareb; ac yn sicr, nid da gormod o ddifyrrwch; canys y mae llawer o hwn yn gwneyd dŷn yn dlawd—yn wag ei ben a'i gàlon, os nad yn wag ei bocced hefyd.

Er cynnifer o bobl sy'n pechu trwy ymroi i ddifyrrwch anghyfreithlon, y mae yn ddïau fod mwy fyth yn pechu trwy ymroi yn ormodol i ddifyrrwch cyfreithlon. Pa nifer o honom ni, grefyddwyr, a all ddywedyd nad ŷm yn ymddifyrru gormod trwy chwarau, neu trwy segura, neu trwy chwedleua, neu trwy fân-siarad, heb sôn am ymddifyrru trwy ymyrryd â matterion rhai eraill, trwy hustyng, trwy absennu a thrwy athrodi. Ac y mae llawer yn gallu chwarau mewn un o'r ffyrdd hyn, nid yn unig ar ôl noswylio, ond hyd yn oed wrth weithio; er nad gwerthfawr yw un gwaith a wneler tan chwarau. Byw iddo'i hun, ac nid byw i'w feistr ac i'w Dduw, y mae'r gwas a ymddifyrro wrth weithio yn lle ymddifyrru mewn gweithio.

Dywed y rhan fwyaf nad oes ganddynt hwy ddim amser i ymddifyrru llawer, am fod yn rhaid iddynt weithio am ryw ddêng awr o'r dydd i gynnal eu hunain a'u teuluoedd; ac er gallu gweithio, fod yn rhaid iddynt dreulio rhyw saith awr i gyscu, ac awr o leiaf i ymborthi. Boed felly; ond goddefwch imi ofyn yn enw Duw, ac er eich mwyn chwi eich hunain, pa fodd yr ych yn treulio'r holl oriau a'r sydd yngweddill; canys y mae pedair awr ar hugain mewn diwrnod? Chwychwi a biau 'ch oriau hamddenol yn bendifaddau; ac fel yr ych yn treulio y rheini y treuliech bob awr arall o'r dydd pe baech yn feistriaid arnoch eich hunain. Pa beth, meddaf etto, yr ych yn ei wneyd yn eich oriau hamddenol? Onid mwynhau rhyw ddifyrrwch, neu o leiaf, geisio difyrrwch, neu ofer-ddisgwyl difyrrwch; *ïe, onid* hyn y mae rhai o honoch yn ei wneyd trwy gydol *y dydd?* Pa fodd, medd rhywun, y gallaf fi ymddifyrru

trwy y dydd, a minnau yn gweithio yn galed dros ran fawr o hono ynghanol y maes ar fy mhen fy hun? Gelli *garu* difyrrwch ar dy ben dy hun. Gelli chwarau yn dy feddwl hyd yn oed wrth weithio. Gelli hanner breuddwydio a gwag ddychmygu, a chwedleua â thi dy hun ynghanol y maes; ac os hynny yr ŵyt yn ei wneyd, yr ŵyt yn dwyn dy hun i dlodi.

Efallai y dywed rhywun arall fod ei waith ef yn gyfryw ag na all efe mo'i wneyd o gwbl heb roi ei holl fryd arno, ac am hynny nad yw ei feddwl ef tra yn gweithio ddim yn cael cyfle i grwydro ac i ofera fel meddwl ambell grefftwr a llafurwr. Os felly, y mae perygl i'th waith di grebachu dy enaid, os na throsi dy feddwl ar rywbeth amgenach yn dy oriau hamddenol. Crebachu'r enaid y mae pob galwedigaeth oddi gerth y galwedigaethau y mae a wnelont â llenoriaeth, gwyddoniaeth a'r celfau cain, onid ymrydd dŷn yn ei oriau hamddenol i ryw waith arall a dueddo i ehangu ac i goethi ei enaid. Ymgrebachu a wna hyd yn oed gwleidyddion, os gwleidyddiaeth yn unig a astudiant. Yn awr, os nad yw gwleidyddiaeth yn ddigonol i gyfoethogi'r enaid, llai o lawer y mae gwaith yr amaethwr, y masnachwr, y crefftwr a'r llafurwr yn ddigonol i wneyd hynny. Etto i gyd, y mae gan weithwyr cyffredin fwy o amser ar eu llaw nag sy gan lawer o wleidyddion; a chwarau teg i rai o honynt, y maent yn gwneyd defnydd da o hono. Ond am y rhan fwyaf o honynt hwythau, dywedyd a wnânt yn ddifloescni mai byw yw eu pwngc hwy, ac nid cyfoethogi'r enaid. Byw, yn wir! pa beth y maent yn ei alw yn fyw? Ai cyscu er mwyn gweithio, a gweithio er mwyn ymborthi ac ymwisco, ac ymddifyrru ar ol cadw noswyl? Ai cadw corff ac enaid ynghyd, ai ynte dadblygu'r corff a'r enaid? "Bod yr enaid heb wybodaeth, nid yw dda;" mwy, y mae bod o wirfodd heb wybodaeth yn ddrwg pendant—yn drueni ofnadwy;

“canys,” medd Duw yn [illegible], “fy mhobl a ddifethir o eisiau gwybodaeth.” Pa fodd nad ymddifethant? onid gwybodaeth yw ymborth yr enaid? ac ni all corff nac enaid, anifail na llysieuyn fyw heb ymborth. Pa ham y bydd rhywrai farw yn dragywydd? Am na bydd ganddynt ddigon o ymborth i fyw arno yn dragywydd. Y mae'r enaid a fo heb wybodaeth yn marw eisoes. Y mae efe mor glaf, fel mai braidd y gellir dywedyd ei fod yn enaid byw. Ac arfer hen ymadrodd cyffredin, “does dim ond ei fod.” Rhyw fflician yn wan ac yn anwadal, fel fflam canwyll pan ar ddiffoddi, y mae'r ychydig oleuni sydd ynddo; a fflician, fflician y bydd byth; fel na ellir yn dragywydd ddywedyd, y mae *wedi* diffoddi; y mae *wedi* darfod. Gan y duwiol yn unig y mae ysbryd i *fyw* byth; ysbryd i *fod* byth sy gan yr annuwiol; a pheth ofnadwy a fydd bod heb fyw.

Pa beth yw swm yr hyn a ddywedwyd hyd yma? Hyn: sef fod bywyd yn fwy na'r bwyd; fod y corff yn fwy na'r dillad, a bod yr enaid yn fwy na'r corff; fod ymarfer ysprydol, sef duwioldeb yn bwysiccach nag ymarfer corfforol; a bod yr hyn sy'n dwyn dedwyddwch a gwynfyd i ran uchaf dŷn, yn well na'r hyn sy'n peri difyrrwch i'w ran isaf.

Dealler o hyd nad wyf fi ddim yn dywedyd yn erbyn pob math o ddifyrrwch. Dywedyd yr ydwyf yn erbyn *caru* difyrrwch, yn erbyn byw ar ddifyrrwch, ac yn erbyn byw er mwyn difyrrwch; ac y mae mwy yn euog o hyn nag sy'n barod i addef hynny. Y mae melusion neu ddanteithion yn llesol i blant, ac nid ychydig o honynt yn aflesol i bobl mewn oed; ond pe bâi pawb yn byw ar felusion, difethent eu cylla, ac aent yn ebrwydd yn rhy glaf hyd yn oed i gymmeryd melusion. Yr un ffunud, y mae y rhai sy'n byw ar ddifyrrwch yn difetha'u chwaeth, yn tlodi eu henaid, ac yn y man yn lladd y gallu hyd yn

oed i fwynhau dlfyrrwch ei hun. Sobrwydd ac nid yscafnder a ddylai fod agwedd *gyffredin* meddwl pob creadur rhesymmol, boed hên, boed ieuangc. Pa beth oedd yr athrawiaeth iachus y gorchmynnwyd i Titus ei phregethu? Bod o'r hynafgwyr yn sobr; ïe, bod o bawb o bob oedran yn sobr: Y gwŷr ieuaingc yr un ffunud, eb efe, cynghora i fod yn sobr. Y dŷn a fydd yn gyffredin yn sobr a fedr chwerthin yn fwyaf calonnog, pan y bo hi yn amser chwerthin; ond fel clindarddach drain dan grochan yw chwerthiniad dŷn ynfyd ac yscafn. Gwag a disylwedd yw pob difyrrwch a'r nad yw yn gorphwys ar haen drwchus o ddifrifwch. Y mae difyrrwch yn burion enllyn, ond bwyd gwael yw; ac am hynny nid ar ddifyrrwch y mae dŷn sobr yn byw. Y mae efe yn ymwadu â llawer o ddifyrrwch, er mwyn bod yn ddedwydd; canys gwaith a gwybodaeth a chydwybod lân sy'n dwyn dedwyddwch. Cymmerwn ein difyrrwch fel y darfu i dri chant o filwyr Gideon yfed dwfr, pan oeddynt yn myned i ryfel yn erbyn y Midianiaid. Codwn lonaid llaw o hono at ein genau, megis wrth fyned heibio; ond nac ymgrymmwn ar ein gliniau i yfed o hono, rhag ini yfed gormod, ac ymdroi gormod. Ymddifyrrwn yn unig er mwyn ymadnewyddu ar ein hymdaith tu a maes y gad. Y mae Duw uwch ein pen; y gelynion o'n blaen, a'r corn cychwyn eisoes yn galw i'r frwydr.

"Tra yr ydoedd Paul yn aros am Silas a Thimotheus yn Athen, ei yspryd a gynhyrfwyd ynddo, wrth weled y ddinas wedi ymroi i eilunod." Nid ymgyffroisai ddim llai pe gwelsai gynnifer o Saeson, a chynnifer o ddynwaredwyr y Saeson yNghymru, wedi ymroi i chwareuon. O! y mae yn resyn gweled cynnifer o fodau rhesymmol yn byw bywyd mor ddiwerth. Y mae y rhain yn ymwisco er mwyn chwarau; ac ni welwyd nac Escimoaid na barbariaid yn ymwisco â dillad mwy anurddasol. Y maent yn

teithio milldiroedd er mwyn chwarau; am chwarau y maent yn siarad, am chwarau y maent yn darllen, ac am chwarau y maent yn meddwl. Chwarau yw gwaith llawer o honynt, eu proffes, eu galwedigaeth; a phan elo chwarau yn waith, y mae yn peidio â bod yn chwarau. Y mae eraill, er nad ŷnt yn rhedeg i'r unrhyw rysedd a'r rhain, sydd etto yn rhedeg gormod o lawer ar ol difyrrwch. A ydynt yn cael yr hyn y maent yn ei geisio sy beth amheus; canys sefyllian a rhodianna yn ddiamcan y byddant, fel pe na wyddant pa beth a wnânt â'u hamser, nac â hwynt-hwy eu hunain. Ar ol ymflino yn gwneyd dim, a hanner lladd eu hunain wrth ladd amser, dychwelant yn siommedig tu ag adref, ac ânt i'w gwelyau cyn dlotted eu henaid ag oeddynt pan godasant yn y bore. Y mae eraill y rhaid iddynt gael difyrrwch mwy bywiog na hwn; am hynny ni welir byth monynt hwy yn segura ar ol noswylio; yn hytrach, y maent yn brysur odiaeth; ond prysur yn chwarau ŷnt hwythau; ac felly, er nad ŷnt yn cael cymmaint o gyfleusdra i wneuthur drwg a'r lleill, nid ŷnt yn cael dim mwy o gyfleusdra i wneuthur da. I bobl feddylgar, y mae bywyd y ddau ddosparth yma yn ymddangos yn fywyd annifyr iawn; ond nid oes gan y rhain eu hunain ddim syniad am fywyd hyfryttach, pe amgen, bywyd hyfryttach a ddewisent. I ddiddyfnu y rhain oddi wrth eu dull arferol o fyw, rhaid newid eu chwaeth; ac y mae hynny yn waith blynyddoedd. Er ised eu chwaeth ŷnt, nid oes arnynt ddim ofn myned i'r nef ar ol marw. Er fod yn ddiflas ganddynt bethau gorau'r ddaear, y maent yn credu y gallant ymddygymmod yn dragwyddol â phethau gwell y nef. Fy mrodyr, na thwyller chwi; "pa beth bynnag a heuo dŷn, hynny hefyd a fed efe." Rhaid ichwi fyw yn y byd arall ar ffrwyth yr hyn a heuasoch yn y byd hwn.

Y mae dosparth o chwareuwyr llai anianol na'r tri

dosparth y soniwyd am danynt, ac y maent hwy yn dywedyd mai ymddifyrru y maent yn unig er mwyn ymadnewyddiad. Rhag imi 'ch cyfiawnhau na'ch condemnio yn rhy frysiog, caniattewch imi ofyn ichwi, ymadnewyddiad oddi wrth ba beth, ymadnewyddiad i ba beth, ac ymadnewyddiad er mwyn pa beth? Ai ymadnewyddiad oddi wrth lafur? Ond y mae rhai o honoch nad ydynt yn llafurio. Ai adnewyddiad i'r meddwl? Ond ychydig o honoch sy'n gweithio â'ch holl feddwl yn ystod y dydd: y mae y rhan fwyaf o'ch cynneddfau yn sefyll yn segur pan y boch yn gwasanaethu cwsmeriaid, yn cadw llyfrau, neu yn gofalu am waith y fferm neu waith y ty. Ai adnewyddiad i'r corff? Beth, onid â'r corff y mae rhai o honoch yn ymarfer ar hyd y dydd; ac o herwydd hynny ymarfer meddyliol a fyddai'r newid gorau i chwi. Adnewyddiad er mwyn pa beth? Ai er mwyn gallu gwneuthur yn well eich dyledswyddau tu ag at Dduw, tu ag at eich cymmydog, a thu ag at eich enaid eich hun? Os felly, da; ond y mae arnaf ofn fod y nifer o'ch oriau a ddyry rhai o honoch i ymadnewyddu yn lliosoccach o lawer na'r oriau yr ych yn eu rhoddi i wneuthur eich dyledswyddau. Da chwi, ieuengctid, edrychwch na roddoch fwy o amser i ofalu am eich corff a'ch amgylchiadau nag am eich enaid, neu fwy o amser i ymddifyrru nag i ymwadu. Y mae hwn yn gyngor buddiol ar wahân i bob ystyriaeth grefyddol; canys dynion yn prisio'u hamser yn fwy nag arian yw'r unig ddynion y mae yn wiw gan y byd gadw 'u henwau yn fyw. Os darllenasoch hanes Napoleon Bonaparte, y dŷn mwyaf ei ymmenydd, yn ol barn Mr. Gladstone, a fu yn y byd er amser Iwl Cesar, odid na welsoch y chwedl hon. Pan oedd Napoleon yn ddiscybl yn yscol filwrol Brienne, yr oedd yn llettya gyd â gwraig dra siaradus; a chan ei fod yntau yn llangc tawedog, ac yn astudiwr dyfal, nid oedd yn gydymmaith cymmeradwy iawn gan wraig y ty. Ym mhen

rhyw ddeng mlynedd ar ol gadael yr ysgol, pan oedd yn arwain byddin yr Ital yn erbyn yr Ostriaid, dewisodd aros dros nos yn ei hen letty, ac wrth swpperu, gofynnodd i'r wraig a oedd hi yn cofio gŵr ieuangc â'i enw Napoleon Bonaparte, "Ydwyf," ebe hithau, "ac efe oedd y llangc mwyaf cwta ei chwedl a fu yn fy nhŷ erioed." "Myfi ydyw Napoleon Bonaparte," eb yntau, "a phe buaswn i y pryd hwnw wedi colli llawer o'm hamser i chwedleua â chwi, ni chawsech heddyw mo'r fraint o groesawu pen dragon byddin yr Ital. Yr wyf fi heddyw yr hyn ydwyf am fy mod y pryd hwnnw yr hyn oeddwn."

Y mae yn ddiau gennyf fi fod gormod o gefnogaeth yn cael ei rhoddi i chwarau er ys talm bellach yn ein hyscolion cyhoeddus, ac yn enwedig yn ein prif athrofeydd. Pan oedd rhywun yn crybwyll wrth y Proffesor Mommsen o'r Almaen am ddyscedigion Lloegr, dywedodd yntau yn synedig, "Dyscedigion, yn wir! y mae y rheini bron wedi darfod yn Lloegr. Y mae'r Saeson yn colli gormod o'u hamser i chwarau yn eu hieuengctid i allu myned yn ddyscedig." Fe ddichon na chred llawer o'r Saeson mo Mommsen yn hyn o beth; ond ni allant wadu'r ffaith hon, sef fod miloedd o'r Ellmyn wedi disodli'r Saeson yn swyddfeydd Llundain, am fod yr Ellmyn ar ol gorphen eu hyscol yn ymroi i ddyscu ieithoedd, tra yr oedd y Saeson yn cicio pél.

Prynnwch a chynnilwch eich amser, gyfeillion ieuaingc; canys y mae hwnnw y trysor druttaf a'r sydd ar eich helw. Na weriwch hwn i fyned i bob cyfarfod buddiol, chweithach cyfarfodydd anfuddiol; canys od ewch i bob cyfarfod i wrandaw ar ddynion tebyg i chwi eich hunain yn parablu ac yn canu, ni chewch amser i ddarllen gweithoedd gwŷr llawer mwy na chwi eich hunain. Mewn llyfrau, fel rheol, ac nid mewn mân gyfarfodydd, y cyfarfyddwch â meddyliau y bydd yn wiw ichwi fyfyrio arnynt a'u cofio.

Trwy gynniwair i bob rhyw gyfarfodydd, gwych, gwael a gweddol, y mae y rhan fwyaf o'r Cymry yn ymddifyrru. Dyma'u ffordd hwy i ladd amser, i anghofio'u gofal, ac i gael gwared o honynt eu hunain; canys, er eu bod yn proffesu bod ar delerau pur dda â hwynt-hwy eu hunain, etto, ffoi oddi wrthynt eu hunain y byddant ar bob cyfle. Cospedigaeth enbyd a fyddai gorfodi y rhain i gymdeithasu dros deirawr â hwynt-hwy eu hunain. Y maent yn ymddifyrru yn grefyddol, yn wleidyddol, yn gymdeithasol, ac ym mhob modd dichonadwy, am fod arnynt ofn eu hunain. Er mwyn ymddifyrru y maent yn myned i'r dafarn, ac er mwyn ymddifyrru y maent yn myned i'r capel, ac nid er mwyn dyscu byw yn well. Nid yw eneidiau y rhain byth yn myned yn fras, eithr culion ŷnt, a llwydaidd eu lliw. Caru melus-chwant—caru difyrrwch y maent; a'r hwn a garo ddifyrrwch a ddaw i dlodi.

Efallai fod rhywun bellach yn barod i waeddi arnaf fel y gwaeddodd Micah ar feibion Dan, "Chwi a ddygasoch ymaith fy nuwiau, a pha beth sy gennyf fi mwyach?" Cymmerasoch oddi arnaf fy chwareuon, a phob difyrrwch a'r a oedd yn gwneyd fy mywyd yn hyfryd; a pha beth a dâl bywyd heb hyfrydwch? Gwir, fe ddarfu imi gymmeryd ymaith dy dduwiau pren a maen; ond yr ŵyf yn cynnyg iti un Duw mawr tragwyddol yn eu lle. Fe ddarfu imi gymmeryd ymaith âg un llaw fwy neu lai o'th ddifyrrwch, ond yr ŵyf yn estyn iti â'r llaw arall ddedwyddwch yn y byd hwn, a gwynfyd bythol yn y byd a ddaw. Pa ham yr ŵyt yn llefain, "Beth sy gennyf fi mwyach?" a minnau, yn enw Duw, yn cynnyg iti'r sylwedd yn lle'r cyscod, y mawr yn lle'r bach, yr hyn sy'n aros yn dragywydd yn lle'r hyn sy'n diflannu fel mwg? Ofn iti fyned yn dlawd sydd arnaf fi, a chael o honot dy daflu o'r diwedd ar y clwt. Yr wyt eisoes yn bwytta mwy o gibau nag o fara. Y mae golwg eisiau bwyd ar dy

wyneb. Y mae dy wisc yn llom a thyllog, ac oni fynni gael ei gwell yn bur fuan, fe'th welir yn rhynnu gan oerfel yngwynt cryf y farn. A wyddost ti? nid oes gennyt un geiniog yn y bangc. Ni thrysoraist i ti dy hun ddim oll yn y nef. Pa fodd yr ymdarewi yn y fynedfa dywyll i'r byd tragwyddol, a thithau heb ddim i dalu dy ffordd? Ac, ô! y mae'r byd hwnnw yn fyd dieithr a thragwyddol. I ba le gan hynny y troi dy wyneb, pan gei dy hun ar gyffiniau diffaith y byd hwnnw? Pa fodd yr ŵyt yn meddwl ymgynnal ynddo dros oesoedd diderfyn tragwyddoldeb, a thithau heb drysorau diddarfod? Gwybydd nad oes neb yn gallu byw yn fras yn y byd hwnnw, ond yr hwn a fu yn ddyfal i wneyd ei ffortun yn y byd hwn. Tlawd byth a fydd pob un a â yno yn dlawd.

Os ewyllysi, yn awr, fod yn gyfoethog tu ag at Dduw, y mae'r Iesu yn barod i roddi iti yn helaeth, ac ar deleran manteisiol, bob rhyw angenrheidiau er dy alluogi i ddechrau byw. "Yr ŵyf yn dy gynghori," eb efe, "i brynnu gennyf fi aur wedi ei buro trwy dân, fel y'th gyfoethoger; a dillad gwynion, fel y'th wiscer, ac fel nad ymddangoso gwarth dy noethder." Arian a dillad ac ymborth ysprydol a gei yn y byd yma; ond yn y byd a ddaw cei etifeddiaeth. Yno, cei rodio trwy y porfeydd gwelltog, a cher llaw y dyfroedd tawel, fel gŵr bonheddig rhydd ac annibynnol, a gelli ddywedyd heb ryfygu: Wele, dyma fy nghyfoeth i. Dyma'r nef a barottôdd, a bwrcasodd, ac a drosglwyddodd fy Ngwaredwr i mi; ac y mae hi yn etifeddiaeth deg! Nefoedd wen yw fy nefoedd i. Gwynfyd—byd gwyn yw fy myd i. Yr ŵyf yn caru golau'r wlad yma: y mae mor ddisclair, ac etto mor fwyn. Ni flinaf byth yn diolch i'r Tad, yr hwn a'm gwnaeth yn gymmwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni; ac ni flinaf byth yn diolch i'r Mab, yr hwn a aeth yn *dlawd fel* y'm cyfoethogid i.

**Rhyfeddaf byth y geni'n dlawd,**
**Y byw dan wawd a chroesau.**

Ond yr ŷm ein dau yn gyfoethog bellach. Y mae pob peth yn eiddof fi, a mi yn eiddo Crist, a Christ yn eiddo Duw. Y mae hi yn well arnom bob un. Pe heb dlodi Bethlem, ni fuaswn i yn werth dim; ac heb dlodi Bethlem ni fuasai Duw ei hun ddim oll yn oll; canys wrth roddi ei unig Fab, fe ennillodd feibion lawer; ac y mae'r Iesu yr un ffunud wedi cyfoethogi ei hun â chyfoeth newydd wrth fy nghyfoethogi i trwy ei dlodi ei hun; ac y mae efe a minnau yn mwynhau'n cyfoeth yn fwy o herwydd ini fod gynt yn dlawd.

Mewn difrif, onid oes ar rywun awydd bod yn un o'r cwmni bendigedig y sy'n gyfrannogion â'u gilydd o holl gyfoeth y Duwdod mawr? Digonolrwydd llawenydd sy ger bron Duw, ac ar ei ddeheulaw y mae digrifwch yn dragywydd. Ai digrifwch a ewyllysi? Yn ochr Duw y gelli fod yn ddigrif. Ai chwerthin a fynni? Efe a leinw dy enau â chwerthin, a'th wefusau â bloedd gorfoledd. A garwn ni y mwyniant sy dros amser yn fwy na'r mwyniant sy dros byth. Na atto Duw.

*Medi* 26, 1894.

# XX.

## CYMRU GELWYDDOG.

"*O herwydd pa ham, gan fwrw ymaith gelwydd, dywedwch y gwir bob un wrth ei gymmydog; o blegid aelodau ydym i'n gilydd.*" EPH. iv. 25.

Y MAE Dr. Edwards yn dywedyd fod Cymru yn dra chrefyddol, ond yn gofyn pa bryd tybed y bydd hi yn wareiddiedig hefyd! Gan fod rhai o'r Cymry eu hunain yn addef mai tyrfa o grefyddwyr anwâr yw y rhan fwyaf o'u cydwladwyr, nid yw ryfedd fod estroniaid yn dywedyd hynny am danom. Nid yw fod barnwyr Seisnig, a Saeson eraill, yn ein cyhuddo o fod yn fwy celwyddog ac yn fwy anniwair na chenedloedd eraill, ddim ynddo'i hun yn profi'n bod felly; ond y mae eu bod yn ein cyhuddo ar hyd y blynyddoedd o'r ddau bechod hyn yn hytrach na rhyw bechod arall yn profi mai y rhain yw'r pechodau mwyaf nodedig yn ein plith; ac y mae yn debyg nad oes un Cymro a fu yn teithio tippyn, hefo'i lygaid a'i glustiau yn agored, a faidd wadu cymmaint a hynny. Pa mor chwannog bynnag a fo'r cyfryw un i ddyrchafu ei genedl ei hun, fe gollai ymddiried pob dŷn diragfarn pe taerai fod y Cymry mor eirwir a'r Saeson, mor ddiwair a'r Gwyddyl, mor onest a'r Ellmyn, mor sobr a'r Ffreingc, ac mor foneddigaidd a'r Spaeniaid. Er y bûm i lawer gwaith yn taeru fod gennym iaith odidog, a'i barnu wrth y safonau yr ydys yn barnu ieithoedd wrthynt; a iaith y byddai ei marwolaeth yn fwy o anffawd filwaith na marwolaeth holl sectau Cymru (am y gall unrhyw ddŷn wneyd sect mewn byr amser, tra na ddichon neb greu iaith, na'i hadgyfodi ar *ôl iddi* farw); etto, er dyrchafu iaith y Cymry, ni bûm i

eriðed yn euog o dradyrchafu cenedl y Cymry, am y gwn mai Phariseaeth diescus ynof fi fyddai dynwared ambell weddïwr o Gymro mwy ciwdodaidd na'r cyffredin, trwy ddiolch i Dduw nad ŷm fel cenhedloedd eraill, nac fel y Gwyddel hwn chwaith. Gwn ein bod yn waeth ein moesau na llawer o genedloedd y Cyfandir; ond os ŵyf yn cyfeiliorni wrth ddywedyd ein bod, a chymmeryd pob peth ynghyd, yn well ein moesau na'r Saeson, yr ŵyf yn cyfeiliorni nid o blegid rhagfarn, ond o blegid fod tystiolaeth pob cenedl, ynghyd a'm profiad i fy hun, yn fy nghymmell i gredu mai corff y genedl Seisnig yw'r bobl isaf eu cyflwr yngorllewin Ewrop. Yn wir, fe dystiodd Arglwydd Salisbury, pan oedd yn Syr Robert Cecil, na welodd efe hyd yn oed ym mhlith cynfrodorion Ostralia, ddynion mor bŵl eu deall, a bwystfilaidd eu natur a gwerin bobl Deheubarth Lloegr. Er bod goreugwyr y Saeson ym mhlith y bobl orau yn y byd; etto, wrth ystyried y cymmeriad y sydd i gorff y genedl, buesid yn disgwyl iddynt fod yn llai parod i geryddu'r Cymry am ddau bechod y sydd ychydig yn fwy cyffredinol yNghymru nag yn Lloegr; yn enwedig pan y dylent wybod fod ffyniant y ddau bechod hyn i'w briodoli yn bennaf i'r ffaith fod y Cymry yn ddarostyngedig iddynt hwy. Pa ham, er enghraifft, y mae'r Cymry mor chwannog i ddywedyd celwydd? Am eu bod yn llwfr. A pha ham y maent yn llwfr? Am eu bod wedi eu llethu trwy hir ormes. Y mae pob cenedl gaeth yn chwannocach i ddywedyd celwydd na chenedl rydd ac annibynnol. Y mae hyd yn oed y cenedloedd sy bellach wedi eu rhyddhau, megis y Groegiaid a'r Italiaid, o hyd yn fwy celwyddog na'u hên feistriaid; canys nid mewn byr amser y gall cenedl a ryddhawyd ymryddhau oddi wrth effeithiau niweidiol hir gaethiwed. Y mae'r Cymry wedi dechrau ymwroli yn ddiweddar; ac o herwydd hynny y maent yn dechrau ymwroli digon i ddywedyd y gwir

hefyd; yr hyn sydd wroldeb o fath uwch o lawer na'r gwroldeb hunangar y sy'n gynnwysedig mewn sefyll allan am fwy o gyflog neu lai o ddegwm.

Pa ham, etto, y mae'r Cymry yn fwy anniwair na phob cenedl oddi gerth y Scotiaid, a hynny yn y parthau yr ydys yn eu cyfrif yn fwyaf Methodistaidd; megis sir Aberteifi, sir Fôn, a gorllewinbarth sir Gaernarfon? Am yr un peth yn hollol, os gallaf ddangos hynny ar fyr eiriau.—Y mae yn debygol fod yn hoff gan y Brythoniaid ganu er pan aethant yn Gymry, sef er pan ymgymmyscasant a Gwyddyl a brodorion cyntefig y wlad hon; ond hyd pan y'u darostyngwyd gan y Saeson, canu caneuon hoew ac arwraidd y byddent; ond wedi eu darostwng, ni feiddient ac ni allent ganu caneuon rhyfelgar; am hynny aethant i ganu yn gyntaf oll yn wylofus; ac yna, ar ôl ymgynnefino â'u caethiwed, aethant i ganu caneuon serch, a'r rheini fyth mewn tôn wylofus; a pharodd hynny niwed i'w moesau. Yn yr un yspryd y cyfansoddwyd, ac yn yr un cywair y byddys yn canu y rhan fwyaf o'n tonau crefyddol; ac ni raid i ddŷn fod yn llawer mwy athronyddol ei feddwl na Sais i allu canfod fod canu hirllaes, cwynfanus, pêr-lesmeiriol yn meddalu ac yn meddwi dŷn, ac yn ei wneyd mor dueddol i bechu mewn un neu ddwy o ffyrdd a phe bâi yn bwytta opiwm neu yn yfed gwin. Am y rheswm hwn, yr oedd Platon, y mwyaf o'r meddylwyr, yn dadlau na ddylai ynadon ddim caniattàu i neb ganu caneuon masw a llescaol mewn gwladwriaeth berffaith, am y byddai'r cyfryw ganu yn y man yn ddinistr iddi. Pan glywodd Napoléon fod yr Ellmyn wedi ynfydu ar nofel gyntaf Göthe, sef "Gofidiau Werther," a'u bod yn ymhoffi mewn canu caneuon mor alarllyd a'r nofel honno, fe ddywedodd, "Ho, medraf fi orchfygu'r hogennod yna mewn byr amser;" a'u gorchfygu a wnaeth. Er hynny, pan ymroisant i ddarllen gweithoedd iachach

Schiller, ac i ganu caneuon gŵraidd Arndt a Rückert a Körner, bu raid iddo yntau gilio o flaen y miliwn o filwyr a ymgyfododd yn ei erbyn. Er bod yn rhy hoff gennyf fi fy hun donau lleddf, etto bydd arnaf ofn clywed canu lleddf, yn enwedig ar emynau mwyaf cnawdol Williams o Bant-y-celyn, ar ddiwedd odfa nos Sul, rhag i hynny wneyd rhai o'r gynnulleidfa yn wannach i wrthsefyll y diafol ar ôl myned allan. Ni byddai yn anawdd profi fod mwy o anlladrwydd mewn cyffroadau crefyddol, pan fo llawer o ganu o'r fath yma, nag a fydd ar un adeg arall. Pwy a ddywedodd "Cymru lân, gwlad y gân?" Y mae yn ddigon gwir ei bod yn wlad y gân; ond, ysywaith, nid yw yn Gymru lân. Dywed ei gelynion; ïe, a llawer o'i chareion hefyd, mai Cymru aflan yw; ac os yw hynny yn wir, yr ŵyf finnau yn anturio dywedyd mai o achos ei bod yn wlad y gân y mae hi, y mae hyd ryw fesur, yn Gymru aflan. Y mae y rhan fwyaf yn canu, neu, o leiaf, yn lleisio yn ddiddeall, nid am eu bod yn grefyddol, eithr am eu bod yn drachwantus—am eu bod yn ymfrydu mewn meddwi eu hunain â sŵn moethus. Y mae yn resynus o beth fod cynnifer o Gymry er ys talm bellach yn meddwl y gallant fod yn feirdd ac yn gantorion heb ddim ymdrech; ac heb wybod am *ganu* o ran ei hanes a'i ddeddfau, ac yn enwedig heb wybodaeth gyffredinol. Y rhai hyn yn ddïau yw'r bodau bach mwyaf penwag a hunanol o fewn creadigaeth Duw. Ni fedrant mewn odfa na chyfarfod llenyddol nac un cyfarfod arall, ddim gwrandaw ar synnwyr, os na bydd y synnwyr hwnnw mewn sŵn. Synnwyr neu amgen, y mae sŵn yn anhebgorol ganddynt hwy. Ond am y dŷn â chanddo chwaeth gerddorol ynghyd â gwybodaeth gyffredinol, nid oes neb galluoccach na hwnnw i brisio dawn mewn pob rhyw beth; pa un bynnag ai mewn tôn ai cân ai traethawd ai araith ai pregeth. Efe, fel rheol, yw'r darllenwr gorau, ac

efe yw'r gwrandawr gorau. Er mwyn enw da Cymru, gweddïwch am chwaneg o'r rhain, a llai o'r lleill.

Ond o ddau bechod mwyaf hynodol y Cymry, nid yr anniweirdeb y sydd ar unwaith yn fam, yn ferch ac yn chwaer i ganu lleddf, yw'r un y mae'r testyn yn sôn am dano, eithr celwydd. Yr ŵyf wedi awgrymmu mai oddi ar ofn yn bennaf, ac nid o falais nac er mwyn twyllo na drygu eraill mewn un ffordd, fel y Saeson, yr ydys yn fwy chwannog i ddywedyd celwydd yNghymru nag yn Lloegr; yr hyn beth, efallai, sy'n gwneyd celwydd y Cymry yn fwy escusadwy na chelwydd y Saeson. A'r ofn hwn, y sy'n ein cymmell i ddywedyd celwydd, sydd hefyd yn ein cadw rhag gwneuthur pechodau yr ydys yn poenydio ac yn crogi o'u hachos, megis llofruddio ac yspeilio pen ffordd. Nid yw'r Cymry mor ddiofal am gael eu cospi yn dost ag yw'r Saeson a'r Gwyddyl; ac am hynny, y maent hwy wrth bechu yn bwrw'r drâul, trwy ystyried maint y gosp. Nid ŷnt ddim ammharottach i lofruddio nag yw'r cenedloedd eraill a ènwyd, os gallant wneyd hynny yn ddirgel ac yn ddigosp. Yn wir, y mae arnaf ofn fod mwy o lofruddio babanod yNghymru nag mewn odid un wlad wareidd-iedig; am fod llofruddio babanod yn beth a ellir ei wneyd yn ddirgelach ac yn ddiogelach na llofruddio dynion oedranus ac adnabyddus. Ychydig flynyddoedd yn ôl, pan oedd newyddiaduron Cymru yn ymgyffroi ac yn ym-dduwioli o achos y llofruddiaethau a'r murniadau a oedd y pryd hwnnw yn y Werddon, fe ddarfu i mi, er mwyn dynoethi Phariseaeth y Cymry a oedd yn ymboeni mwy ynghylch y brycheuyn a oedd yn llygad eu cymmydogion nag ynghylch y trawst a oedd yn eu llygad hwy eu hunain, ddanfon llythyr i un newyddiadur i brofi, a hynny, gan mwyaf, allan o golofnau'r newyddiadur hwnnw ei hun, fod mwy o fabanod newydd eni wedi eu llofruddio; neu o leiaf, fod mwy o weddillion babanod wedi eu cael

mewn cwt moch, mewn ffwrn dân, mewn tommenydd ac mewn ffosydd, o fewn dêng milldir i argraffdy'r newyddiadur hwnw nag a lofruddiwyd o oruchwylwyr anghyfiawn ynghorff yr un amser yn yr holl Werddon. Prin y rhaid dywedyd na ddaliwyd cymmaint ag un o'r llofruddion Cymreig, a hynny am fod yn haws gan y Cymry gyhuddo troseddwyr yn ddirgel, yn eu cefn, nag yn agored mewn llys barn. Yr ydys yn cyfrif Cymru yn weddol lân oddi wrth droseddau dybryd, nid am ei bod yn agos i lân, eithr am fod ar ei thrigolion, yn blismyn a phawb, ofn dadguddio troseddau yr ydys yn cospi yn dost am danynt. Pe bâi yNghymru blismyn mor llym ag sydd yn y Werddon, neu pe bâi'r Cymry cyn barotted i ddywedyd y gwir yn erbyn eu gilydd ag yw'r Saeson, buan y collai'n gwlad yr enw o fod yn wlad y menyg gwynion. Swm y cwbl ydyw fod llai o gospi yNghymru nag mewn odid un wlad arall, ond fod ynddi fwy o bechu nag mewn llawer gwlad.

Y mae yn sicr ein bod ni, y pregethwyr, yn gyfrifol hyd ryw fesur am anfoesoldeb Cymru. Yr ŷm, er ys can mlynedd a mwy, wedi ymgyfyngu yn ormodol i'r hyn yr ydys yn ei alw yn bregethu efengylaidd, yn lle pregethu'r gair—*holl* gyngor Duw, yn ddyledswyddau, yn rhybuddion, yn fygythion, ac yn athrawiaethau; a'r canlyniad ydyw fod y pechodau mawr y dywedai'r proffwydi a'r apostolion a'r Iesu yn eu herbyn cyn gryfed yn awr yNghymru ag y buont erioed. Brigau pechodau, megis chwaryddiaethau a chyflogi ar y Sul, a phethau cyffelyb, a lwyddodd y tadau Methodistaidd i'w torri ymaith; ac am na chodasant mo'r boncyffion, y mae'r brigau heddyw yn aildarddu. Od oes llai o feddwi ac o ymladd mewn ffeiriau, i'r plismyn a'r ynadon y mae mwyaf o ddiolch am hynny. Fe gawsom do ar ôl to o bregethwyr campus i'n dyscu i fod yn grefyddol—ac yn Phariseaidd yn y fargen; ond pa bryd y

cyfyd to arall o bregethwyr i'n dyscu i fod yn foesol? Pa bryd y daw efengylwyr eraill, yn yspryd a nerth Elias, i yscubo cynnifer allan o'r eglwysi ag a gribiniodd efengylwyr blaenorol i mewn iddynt? Pa bryd y daw Duw felly atom fel na all dynion ddim goddef ei ddyfodiad? Pa bryd y cawn y cyfryw ddiwygiad ag na faidd yr anghyfiawn ddim gweddïo am dano, rhag ofn cael o hono 'i gymmell i wneuthur cyfiawnder, ac na ddichon i'r oferwr orfoleddu ynddo heb fwrw 'i oferedd oddi wrtho. Y mae arnaf ofn na chawn ddim diwygiad gwirioneddol, a dyn yr adflas sydd ar y byd, cyhyd ag y bo cymmaint o driagl a chyn lleied o halen yn ein pregethau. Y mae'r pregethu pyngciol yn beth digon diniwed—nid yw yn briwo na baban na bwgan; ond nid yw yn tycio i gymmell gwrandawyr i fwrw ymaith gelwydd ac i ddywedyd y gwir bob un wrth ei gymmydog. Y mae'r pregethu efengylaidd, fel yr ydys yn ei alw, yn gogleisio yn rhyfedd y bobl y mae goglais arnynt; ond nid yw yn eu symbylu i adael eu pechodau ac i wneuthur eu dyledswyddau. Y maent yn aros yn eu pechodau—yn aros trwy fod wedi soddi ynddynt hyd at yr ên; ond os bydd eu genau yn unig uwch law gwyneb y dwfr tomlyd, llefarant yn grefyddol a gweddïant yn grefyddol; a gorfoleddant hefyd ar amserau. Y mae'n bod ni, bregethwyr, yn dibynnu cymmaint ar ein gwrandawyr yn ein temtio i bregethu yr hyn sy dda ganddynt yn fwy na'r hyn sy dda iddynt. Pregethu yr ydym, gan mwyaf, ac mewn lleoedd mawr yn enwedig, i sicrhau i ni ein hunain ail wahoddiad, ac i wneyd ein hunain yn gymmeradwy gan yr awdurdodau goruchel, ac nid i'w hargyhoeddi o'u celwydd, o'u hanghyfiawnder, o'u bydolrwydd ac o'u rhagrith. Ar air, peidiasom â bod yn broffwydi, ac aethom yn offeiriadon.

Ai sôn yr ydys am bregethu "efengylaidd?" Peidiwn â chamarfer gair da. Pregethu fel pregethu'r Iesu yw'r

pregethu gwir efengylaidd; pregethu a oedd yn ymdrîn yn ddiymannerch â dynion fel yr oeddynt, ac nid âg athrawiaethau pell wedi eu cymmylu â thermau diwinyddol. Y mae rhai yn cyhuddo'r apostolion, yn enwedig Paul, o fod yn fwy pyngciol o lawer na'r Iesu; ond cofier mai yn ei epistolau ac nid yn ei bregethau y mae efe yn ymddangos yn byngciol. A hyd yn oed yn ei epistolau, y mae yn dangos perthynas pob athrawiaeth â dyledswydd foesol; ac yn y rhan olaf o bob epistol, y mae yn hollol ymarferol. Felly yn yr epistol hwn: Os yw yn y rhan flaenaf o hono yn sôn am etholedigaeth, yr ymgnawdoliad, cyfiawnhad trwy ffydd ac undeb yr eglwys, y mae yn y rhan olaf o hono yn discyn, pe yn discyn hefyd, i annog yr Ephesiaid i beidio â dywedyd celwydd, i beidio â rhoi lle i ddiafol trwy ymddigio, i beidio â chwiwladratta, i beidio â siarad yn serth, ac i beidio â bod yn chwerw ac enllibus; ond, ysywaeth, y mae yn well gan rai o honom ni ddangos ein crefydd trwy ymddadlau ynghylch athrawiaethau'r Bibl na thrwy geisio gwneuthur ei ddyledswyddau. Yr ŷm wedi cael allan er ys talm fod yn rhattach ini gredu fel Calvin na rhodio fel Crist. Yr ŷm yn myned yn esponwyr ac yn ddiwinyddicn er mwyn hebgor bod yn Gristionogion. Ceisiwn wybod y gwirionedd hyd eithaf ein gallu; ond gwnawn hynny "gan fwrw ymaith gelwydd."

Y mae dywedyd celwydd yn bechod mor hawdd i'w wneuthur, ac mor ddiogel i'w wneuthur, fel y mae efe ym mhob gwlad yn fwy cyffredinol nag un pechod arall; a chan ei fod y pechod mwyaf cyffredinol, efe yr ydys yn ei gyfrif y lleiaf o'r holl bechodau. Y mae hwn yn bechod rhy barchedig nid yn unig yn y byd ond hefyd yn yr eglwys. Yr ydys yn dywedyd fod rhai pregethwyr yn medru pregethu yn dda, a rhai blaenoriaid yn medru gweddïo yn hwyliog, ond heb fedru dywedyd y gwir. Y

mae rhai aelodau yn gwneuthur cyfres o nofelau byrion bob dydd; hynny ydyw, yn alluog iawn i ddywedyd celwydd pan na bo ganddynt wir digon rhyfedd i'w ddywedyd; ac er hynny ni chlywais i am un eglwys yn discyblu dŷn o achos celwydd, os na byddai'r celwydd hwnnw yn athrod. Ni synnwn i nad oes yma rywrai yn sisial yr awron yn eu càlon fod dywedyd y gwir yn ddyledswydd rhy ddibwys i wneuthur pregeth arni, ac y buasai yn rheitiach imi na dewis adnod fach ddeddfol o'r fath yma yn destyn, chwilio am ryw destyn â thippyn o efengyl ynddo. "Pa ham," meddant, "yn lle sôn am y pechod yma a'r pechod arall—yn lle poeni'n henaid cyfiawn trwy beri ini feddwl am y celwydd a ddywedasom ddoe, a'r celwydd y bydd yn rhaid ini ei ddywedyd yfory, pa ham na fuasech yn ein gwneyd yn gyssurus yn y dechrau trwy gymmeryd yr adnod hon yn destyn: 'Gwaed Iesu Grist, ei Fab ef, sy'n ein glanhau ni oddi wrth bob pechod'—pob pechod; celwydd hefyd, os yw celwydd yn bechod. A dyma ichwi destyn arall melus iawn, y clywsom yr hên dadau (coffa da am danynt) yn pregethu yn wlithog arno lawer gwaith: 'Y mae hwn yn derbyn pechaduriaid'—heb ddannod iddynt ryw fân gelwyddau nad oedd prin yn wiw gofyn maddeuant am danynt." Adnodau gwerthfawr yn ddïau, a chyfaddas hefyd i'r rhai y mae eu pechodau yn eu llethu. Er hynny nid yw'r gwirionedd sydd ynddynt ddim yn sefyll ar ei ben ei hun, eithr sefyll y mae mewn cyssylltiad â gwirionedd arall. Y *mae*'r Iesu yn derbyn pechaduriaid, a diolch am hynny; ond nid yw'r nef ddim yn derbyn pechaduriaid: "nid â i mewn iddi hi ddim aflan nac yn gwneuthur ffieidd-dran a chelwydd." "I'r holl gelwyddwyr y bydd eu rhan yn y llyn sy'n llosci â than a brwmstan." Yr un lle sy gan Dduw i gelwyddwyr ag sy ganddo i lofruddion a phuteinwyr ac eilunaddolwyr. Wrth ystyried maint y gosp, pwy a faidd daeru mai bai bychan yw celwydd?

Etto; y mae'r scrifenwyr santaidd nid yn unig yn cyssylltu'r ymarferol a'r athrawiaethol, ond hefyd yn cyssylltu dyledswyddau neillduol â dyledswydd gyffredinol: "O herwydd pa ham, gan fwrw ymaith gelwydd, dywedwch y gwir bob un wrth ei gymmydog." O herwydd pa beth yr ydys yn gorchymmyn ini wneuthur y ddyledswydd neillduol hon? O herwydd y ddyledswydd gyffredinol yr ydys yn ei gorchymmyn yn y tair adnod o'r blaen. Ar y gorchymmyn cyffredinol hwn y mae'r gorchymmyn neillduol i ddywedyd y gwir yn gorphwys yn y llythyr at y Colosiaid hefyd: "Na ddywedwch gelwydd wrth eich gilydd, gan ddarfod i chwi ddiosc yr hên ddŷn ynghyd â'i weithredoedd, a gwisco'r newydd, yr hwn a adnewyddir mewn gwybodaeth, yn ôl delw yr hwn a'i creodd." Yr ŷm ni yn rhy dueddol i wahanu gorchmynion neillduol oddi wrth y gorchymmyn cyffredinol a fo yn eu cynnwys, a thrwy hynny wneyd y cyffredinol yn beth rhy ammhennodol i'w gyflawni. Mynych y byddwn yn sôn am ddodi heibio'r hên ddŷn; ond pa beth amgen ydyw hynny na dodi heibio gelwydd a llid a lladrad ac ymadrodd llygredig, a'r holl bethau neillduol y mae'r apostol yn eu henwi yn yr adnodau sy'n dilyn y testyn? Pa beth hefyd yw gwisco'r dŷn newydd amgen na bod yn gymmwynasgar, yn dosturiol, yn faddeugar; sef y pethau yr ydys yn eu henwi fel engreifftiau yn yr adnod olaf o'r bennod? "Y dillad yw'r dŷn," medd dihareb; ac y mae hynny yn gwbl wir am yr hên ddŷn a'r dŷn newydd. Yn eu gwisc y gellir canfod y ddau ddŷn hyn, ac wrth eu gwisc yr adwaenir hwynt. Y mae yn wir y gellir dywedyd fod un o'r ddau ddŷn hyn ynom; ond cyn sicred a'i fod ynom, y mae am danom hefyd. Y mae efe yn egwyddor ac yn weithredoedd, yn wreiddyn ac yn ganghennau. Dioscwch hwn o'i ddillad, sef o'i briodoleddau, ac fe baid â bod. Y mae naw byw y peth a

fynnoch yn yr hên ddŷn, os bydd digon am dano; er hynny, y mae yn yscellyn mor ddiwaed fel y mae yn rhynnu i farwolaeth heb ei ddillad. Pa beth ydyw celwydd? Hugan, mantell yr hên ddŷn. Pa beth o'r tu arall yw trugaredd, cymmwynasgarwch, gostyngeiddrwydd, addfwynder ac ymaros? Dillad isaf y dŷn newydd. Pa beth yw cariad? Cob uchaf y dŷn newydd; ac am hynny yr ydys yn dywedyd, "Am ben hyn oll, gwiscwch gariad." Y mae hon yn ddigon helaeth nid yn unig i orchuddio dy rinweddau di, ond hefyd i guddio lliaws o bechodau pobl eraill. Pa fodd y gallaf wybod, medd rhywun, a ydwyf yn greadur newydd? Edrych pa nifer o ddillad newydd sydd am danat? A ŵyt ti yn sicr, er engraifft, fod mantell cyfiawnder am danat? ac os bu ynddi dyllau, a ŵyt ti yn sicr fod y rheini wedi eu cyfanu; hynny ydyw, os gwnaethost gam â neb, a ddarfu iti, hyd yr oedd ynot ti, ei unioni? A ŵyt ti yn cofio'r awr a'r lle pan y dywedaist gelwydd gwirfoddol er mwyn ennill tippyn mwy o arian nag a gawset wrth ddywedyd y gwir? A gyffesaist ti hynny, nid yn unig i Dduw, ond hefyd i'th frawd neu i'th frodyr; ac a brofaist ti dy fod yn gwir edifarhau am dano, trwy ddychwelyd yr arian a ennillaist ar gam? Os na wnaethost, y mae y rhwyg byth heb ei gyfannu, a'r bai byth heb ei faddau.

"Y mae'r hên ddŷn sydd o'm mewn yn blino llawer arnaf," medd un arall. Tybed, mewn difrif, ei fod yn dy flino? Pa un o'i ddillad yr ŵyt yn ei deimlo yn anghyssurus? Nid celwydd; canys y mae yn fawr gennyt addurniadau'r dilledyn hwnnw. Nid anghyfiawnder; canys y mae poccedau eang hwnnw yn werthfawr iawn yn dy olwg. Nid llid; canys y mae llabed hwnnw yn ymysgwyd ac yn ymguro fel llumman llong, pan godo gwynt gwrthwynebus. Od ŵyt yn gallu ymddygymmod â'r pechodau hyn, yr ŵyt yn ymddygymmod â'r hên

ddŷn yn ei grynswth. Nid trwy fod mewn rhan fechan yn y pechod hwn, ac mewn rhan fechan yn y pechod arall y mae'r hên ddyn yn byw, ond trwy fod i gyd mewn un pechod. Hyd yn oed yn ôl y gyfraith frenhinol—perffaith gyfraith rhyddid, y mae'r neb a ballo mewn un pwngc yn euog o'r cwbl. Y mae un pechod yn ddigon i'n cymhwyso i uffern; ond nid yw un rhinwedd ddim yn ddigon i'n cymhwyso i'r nef. Fe glywch ambell un yn dywedyd: "Beth bynnag ydwyf, yr ŵyf yn ddirwestwr o'm mebyd—yn fwy o ddirwestwr yn y pwngc o yfed nag oedd Iesu Grist a'i apostolion." Y mae yn dda gennyf glywed dy fod yn ddirwestwr hyd yn oed yn y pwngc o yfed yn unig; a byddai yn dda gennyf pe bâi pawb yr hyn ydwyt ti yn hynny o beth; ond nid da iawn gennyf glywed fod dŷn meddw wedi myned yn ddŷn hunanol, gan ddewis cael ei ddamnio yn hytrach fel Pharisead nag fel publican; ac nid yw dda gennyf o gwbl glywed am undyn yn twyllo'i hun trwy feddwl ei fod wedi ei waredu rhag uffern, yn unig am ei fod wedi ei waredu o'r dafarn. Y mae'r cythreuliaid yn ddirwestwyr; a gallai pob un o honynt wisco rhuban las yn onestach na llawer; ond cythreuliaid ydynt er hynny. Cofier na ddichon na dŷn na diafol fod yn euog o bob pechod, naill ai o blegid cyfansoddiad ei natur, neu o blegid amgylchiadau, neu ynte o blegid fod y naill bechod yn gwrthladd pechod arall; megis afradlondeb yn gwrthladd cybydd-dod, a chybydd-dod yn gwrthladd afradlondeb. Er cystal peth yw cymmedroldeb, ni thycia hynny nemmor, oni's cyrhaeddir ar hyd grisiau ffydd a rhinwedd a gwybodaeth; ac er bod wedi ei gyrraedd felly, nid yw yn wiw ini eistedd a chanu ar y ris honno, fel pe baem eisoes wedi escyn hyd at borth y nef; canys y mae grisiau eraill i'w dringo wedyn, megis ammynedd, duwioldeb, caredigrwydd brawdol a chariad cyffredinol. "Os yw'r pethau

hyn gennych, ac yn aml hwynt;" hynny ydyw, os yr *holl* bethau hyn gennych, a phob un o honynt yn helaeth, yna y mae i chwi le i obeithio y byddwch yn gadwedig yn y diwedd. Gofalwn yn anad dim rhag bod yn bobl yr un rhinwedd, ac felly golli'r nef o eisiau bod yn rhagorol ym mhob rhinwedd.

Yr un ffunud, os ŵyf fi heddyw yn sôn yn fwy neillduol am eirwiredd, nid ŵyf yn ewyllysio rhoi ar ddeall yr ewch i'r nef trwy ddywedyd y gwir: cyhoeddi yr ydwyf yr ewch i uffern trwy ddywedyd celwydd; ac y gall ystyried hynny fod yn help ichwi i gyrraedd y nef.

Fel rheol, fe geir gan y dŷn sy'n meddwi addef ei fod yn feddwyn; am y bydd ei leferydd, ei yscogiad, a phethau eraill, yn ei gyhuddo ef yn rhy amlwg iddo allu gwadu; ond anfynych y ceir gan y dŷn a ddywedo gelwydd addef ei fod yn gelwyddwr, neu gan y dŷn a ladrattao fân bethau addef ei fod yn lleidr, neu gan y dŷn cybyddlyd addef ei fod yn gybydd, neu gan y dŷn hunanol addef ei fod yn hunanol. Y mae pob un yn ddigon parod i addef ei fod yn bechadur yn ystyr niwlog ac ammhenodol y gair; ond ni chlywais i neb eriôed yn addef ei fod yn bechadur o gelwyddwr, yn bechadur o chwiwleidr, yn bechadur o gybydd, yn bechadur o gecryn, neu yn bechadur o goegyn. Cyffesa'r dŷn ei ddrygioni cyffredinol, ond gwad ei ddrygioni neillduol; a pha ham? Am fod cyffesu drygioni cyffredinol yn beth hawdd, a bod cyffesu drygioni neillduol yn beth anawdd. Er mwyn profi hynny, goddefer imi dy holi, fel y byddid yn holi yn yr eglwys cyn iddi fyned i ymfoddloni ar holi ac atteb ammhennodol a dibwrpas.—A ydwyt yn bechadur? "O, ydwyf, yn bechadur: yr hwn sydd heb ei fai sydd heb ei eni, medd y ddihareb; ac y mae yn scrifennedig yn y Bibl ei hun: 'Os dywedwn nad oes ynom bechod, yr ydym yn ein twyllo'n hunain, a'r gwirionedd nid yw

ynom.'" Atteb rhugl a chywir iawn; ond pa beth, attolwg, sy'n peri iti feddwl dy fod *di* yn bechadur? "Dim neillduol, heb law fod Duw yn tystiolaethu yn ei air fod pawb yn bechaduriaid, a'm bod innau yn credu fod tystiolaeth Duw yn wir." Yn awr, er mwyn siarad yn bennodol, ac felly yn bwrpasol, y mae'r gair ar led mai trwy ddywedyd celwydd yn fwyaf arbennig yr ŵyt ti yn dangos dy fod yn bechadur: mai celwydd yw'r wisc y mae dy hên ddŷn yn ymrodio ynddi. A ŵyt ti gan hynny yn cyffesu dy fod yn bechadur o gelwyddwr? a ydyw yn ddrwg gennyt am hynny? ac a ydwyt yn penderfynu bwrw celwydd oddi wrthyt fel dilledyn ffiaidd? "Myfi yn gelwyddwr! pwy a ddywedodd wrthych y byddaf fi yn dywedyd celwydd? Yr ych yn fy sarhau i wrth ofyn imi y fath gwestiynau; a phe bâi rhyw gapel arall yn weddol agos, i hwnnw yr awn yfory nesaf.—Beth y mae pobl yn ei alw yn gelwydd?" Dywedaf iti pa beth y mae cyfraith y wlad yn ei alw yn gelwydd; ac y mae yn sicr nad yw cyfraith dynion ddim manylach na chyfraith Duw—traethu fel gwir yr hyn a wyddost mai anwir yw. A ŵyt ti yn euog o hynny? "Nac ydwyf ddim." Dyma fath arall o gelwydd: traethu fel gwir yr hyn na wyddost ei fod yn wir. A ydwyt yn euog o hynny? "Nac ydwyf; hynny ydyw—wel—nac ydwyf." A ŵyt ti yn euog ynte o'r math yma o gelwydd: traethu yr hyn sy wir ynddo'i hun, ond yn y fath fodd ag i beri camargraff ar y gwrandawyr; neu draethu'r cyfryw wir ag a draethodd y gau dystion ac Iddewon eraill am yr Iesu, pan oeddid yn ei brofi? neu, er mwyn bod yn eglurach, oni ddywedaist y dydd o'r blaen chwedl o'r fath yma wrth frawd eglwysig? "Ddoe, fe droes merch y ty nesaf accw i edrych am wraig Bodeilir; ac yn ebrwydd ar ôl ei myned ymaith, fe ganfu'r wraig ei bod wedi colli tlws gwerthfawr." Yn awr, gwn i fod y ddwy ffaith yna yn wir; ond fe ddarfu i ti eu gosod

ynghyd yn y fath fodd ag i beri ith frawd eglwysig feddwl fod merch dy gymmydog yn euog o ladratta'r tlws. "O! nid ŵyf fi yn galw peth fel yna yn gelwydd." Ai e! yr ŵyf fi yn ei alw yn gelwydd o'r mwyaf maleisus; am dy fod yn ei gwneyd hi yn anawdd i'r gyhuddedig dy wrthbrofi, ac yn ei gwneyd hi yn anawdd i'r barnwyr dy gospi. Ond gan nad yw dywedyd celwydd yn gynnwysedig bob amser mewn llefaru celwydd, gofynnaf iti un cwestiwn arall manylach: A ddarfu iti trwy oslef, trwy edrychiad, trwy amnaid, neu trwy ryw ystumiau, awgrymmu i eraill yr hyn nad oedd wir, gyd â bwriad i'w twyllo? Os felly, dywedaist gelwydd; ïe, celwydd noeth hefyd; a hynny yn fwy am na wiscwyd mono mewn geiriau.

Ond y mae a wnelo'r celwyddau hyn oll â'r amser a fu ac â'r amser y sydd. Beth etto am gelwydd o ran yr amser a fydd? Addewaist dalu dy ddyled erbyn Calan Mai; ac yr ŵyt heb ei thalu etto. A feiddi di ddywedyd ei bod yn annichon iti gyflawni dy addewid, o achos anffodion na allaset ddim wrthynt, ac na allaset mo'u rhagweled? Addewaist wneyd cymmwynas ith gymmydog tlawd, ac ni chafodd efe etto ddim heb law dy addewid. Oni wyddost dy fod yn euog o gelwydd tu ag atto, ac o gelwydd creulon iawn hefyd?

"Gan fwrw ymaith gelwydd, dywedwch y gwir bob un wrth ei gymmydog." Y mae celwydd yn ddilledyn rhy wael i'w drwsio; am hynny bwriwch ef ymaith yn ddirmygus, yn llwyr, a thros byth. Os nad ych wedi bwrw ymaith hwn yma, nid ych wedi dodi heibio'r hên ddŷn. Ond na foddlonwch ar ymddiosc oddi wrth gelwydd, heb ymwisco hefyd â'r gwir. Y mae gan lawer ddigon o dduwioldeb i beidio â dywedyd celwydd, ond heb ddigon o rinwedd, sef heb ddigon o wroldeb, i ddywedyd y gwir. Ac er bod y gair Cymraeg "wrth" yn rhy gryf ond odid i ddangos ystyr y gair cyssefin, yr ŵyf yn meddwl y goddef

y testyn imi ddywedyd hyn hefyd: Bydded pob un yn barottach i ddywedyd y gwir *wrth* ei gymmydog, yn ei wyneb, nag i ddywedyd y gwir *am dano*, yn ei gefn. Dywedwch y gwir wrtho, pan fo achos, am eraill; a dywedwch y gwir wrtho, pan fo achos, am danɔ'i hun hefyd. Yr anghenraid am hyn sy'n peri fod dywedyd y gwir yn beth anhawddach na pheidio â dywedyd celwydd.

"Dywedwch y gwir." Pa ham? "O blegid aelodau ydym i'n gilydd." Od oes dyled arnom i beidio â thwyllo'n gilydd o blegid ein bod yn aelodau o'r un ddynoliaeth, mwy o lawer y mae dyled arnom i beidio â thwyllo'n gilydd, a ninnau yn aelodau o'r un eglwys. Os yw dŷn, fel y mae yn ddŷn, yn fod cymdeithasol, mwy o lawer y mae felly, fel y mae yn Gristion. Yn y cylch nesaf i mewn hwn, yn enwedig, ni all y llygad ddywedyd wrth y llaw, Nid rhaid i mi wrthyt, na'r pen ddywedyd wrth y traed, Nid rhaid i mi wrthych. Yma, y mae'r berthynas rhwng yr aelodau a'u gilydd mor agos fel na ddichon un aelod wneyd cam âg aelod arall heb wneyd cam âg ef ei hun. Os ŷm yn aelodau *o*'r eglwys fawr, yna yr ŷm hefyd yn aelodau *i*'n gilydd. Er pa bryd yr ych yn aelodau o'r eglwys?—Ai *o*'r eglwys a ddywedais? Hyn yr oeddwn i yn meddwl ei ofyn i chwi ac i mi fy hun: Er pa bryd yr ŷm yn aelodau *i*'r eglwys; hynny ydyw, yn aelodau i'n gilydd? A ydym yn teimlo yn awr, ar ôl yr holl broffesu, nad ŷm dda i ddim ond i wasanaethu'n gilydd, ac i wasanaethu Crist trwy wasanaethu'n gilydd? Ai bod yn gynnorthwy i'n gilydd yw'n prif hyfrydwch? Pa sawl un, a'r sy'n ennill mwy na digon o arian i'w gadw 'i hun a'i deulu, a all ddywedyd fel y patriarch Io:

"Pan y'm clywai clust, hi a'm bendithiai,
A phan y'm gwelai llygad, efe a dystiolaethai i'm gogoniant;
Am fy mod yn gwaredu'r tlawd a fyddai yn gwaeddi,
A'r amddifad, nad oedd iddo gynnorthwywr.

**Bendith yr hwn oedd ar ddarfod am dano a ddelai arnaf,**
**A gwnawn i gâlon y wraig weddw lawenychu.**
**Mi a wiscwn gyfiawnder fel dilledyn,**
**A'm barn oedd fel mantell a choron.**
**Llygaid oeddwn i'r dall,**
**A thraed oeddwn i'r cloff.**
**Tad oeddwn i'r anghenog;**
**A'r cŵyn ni wyddwn a chwiliwn allan.**
**Mi a ddrylliwn ascwrn gên yr anghyfiawn,**
**Ac a dynnwn yr ysclyfaeth oddi rhwng ei ddannedd ef."**

Dyma ddŷn yr oedd ei law bob amser yn agored, oddi gerth pan geuai ei ddwrn i daraw yr anghyfiawn; ïe, dyma ddŷn a fyddai yn rhoi benthyg ei lygaid a'i draed i drueiniaid, heb ofyn ganddynt nac ocraeth na llog.

Pe credem mai wrth fyw *yn* ein gilydd y byddem yn gyfan, ac mai wrth fyw *i*'n gilydd y byddem yn ddedwydd, ni byddai ddim rhaid ini annog ein gïlydd i ddywedyd y gwir bob un wrth ei gymmydog, nac i wneuthur dim arall a'r sy'n gynnwysedig yn yr ail orchymmyn mawr, sef, "Car dy gymmydog fel ti dy hun."

1889.

## XXI.

## DISCYBLAETH EGLWYSIG.

"*Gadewch i'r ddau gyd-dyfu hyd y cynhaeaf.*" MATH. XIII. 30 (A).

"GWELL yw dau nag un," medd y Pregethwr; ond pan fo dau yn wahanol eu natur i'w gilydd, ac yn gwrthwynebu eu gilydd, yna y mae un yn well na dau. Y mae'r byd presennol yn fyd drwg am fod ynddo ddau yn lle un. Y mae yn faes rhyfel am fod ynddo ddau ddŷn, sef y dŷn a'i pïau a'r gelyn ddŷn—Duw a diafol. Y mae yn faes anolygus am fod ynddo ddau fath o gynnyrch, sef gwenith ac efrau—plant Duw a phlant diafol. Ac y mae fod dau ddosparth gwahanol yn y byd hwn yn peri fod dau le gwahanol yn y byd tragwyddol, sef yscubor a ffwrn—nef ac uffern. Ond er fod dau fath o gynnyrch, nid oes ond un maes; a chan fod y da a'r drwg wedi eu hau ynghyd, y mae yn fuddiol gadael iddynt gyd-dyfu a chydaddfedu.

Ond pa beth ydyw'r maes yr heuwyd hwynt ynddo? "Y maes yw'r byd," medd yr Iesu; ond nid y byd ar wahân i'r eglwys, eithr y byd y sy'n llawr yr eglwys, y byd yr heuodd Mab y dŷn yr had da ynddo, sef y byd Cristionogol—y byd yr ydys yn ei alw yn nechrau'r ddammeg yn deyrnas nefoedd, ac yn ei diwedd yn deyrnas Mab y dŷn.

Nid heb achos y galwodd yr Iesu deyrnas nefoedd yn fyd; canys y mae pob peth a'r sydd yn y byd, megis chwant y cnawd, chwant y llygaid, a balchder y bywyd, i'w cael yn yr eglwys hefyd, ac i'w cael mewn mesur

helaethach ac mewn gwedd wrthunach ynddi hi nag y ceir hwynt yn y byd paganaidd. "Gwaetha' llygriad, llygriad y peth gora'," medd y ddihareb; ac am hynny, y mae Cristion dirywedig yn gallu cyrraedd rhyw eithafion mewn annuwioldeb na all y pagan mo'u cyrraedd. Yn yr eglwys ym mhob oes y cafwyd y dynion gorau, ac yn yr eglwys ym mhob oes y cafwyd y dynion gwaethaf. Ni bu'r eglwys eriôed yn eglwys bur a digymmysc. Hyd yn oed ym mhlith y deuddeg a etholodd yr Iesu yn apostolion, yr oedd un yn lleidr ac yn fradychwr, un arall yn rhegwr ac yn wadwr, dau eraill yn uchel-geisiol a dialgar, ac amryw chwaneg yn anianol. Yn amser yr apostolion, yr oedd ymgecraeth a llygredigaeth yn amlwg iawn yn yr eglwys. Ie, yn yr erlid mawr a fu arni yn yr ail a'r drydedd ganrif, ni lanhawyd hi oddi wrth ei sothach; canys yr oedd yr aelodau yn barottach o lawer i farw dros Grist nag i fyw fel Crist. Mewn oesoedd diweddarach fe welwyd peth chwithig iawn yn yr eglwys: Cristionogion yn erlid Cristionogion, a phaganiaid oddi draw yn chwerthin am eu pennau; ac er fod erlid hyd at waed wedi myned er ys talm bellach allan o arfer ym mhob cyfundeb, y mae mesur mawr o'r hen genfigen a'r llid yn aros. Mynych y byddys yn clywed rhai yn cyfeirio yn hiraethus at yr adegau hyfryd pan oedd yr eglwys yn bur, yn un a chyttun; ond dynion heb wybod ei hanes sy'n gwneyd hynny; canys pe buasent wedi darllen tystiolaeth ei hathrawon hi ei hun am dani, gwybuasent na bu'r eglwys erioed yn bur, ac na bu dros lawer o fisoedd yn gyttûn chwaith. A pha fodd y gallesid discwyl iddi fod felly; canys ar noswaith y dydd yr heuwyd ynddi had da, fe heuwyd ynddi efrau hefyd; ac y mae'r efrau hyn erioed mor doreithiog yn yr eglwys, fel na fedr y gweision mo'u casclu heb ddiwreiddio'r gwenith. Y mae yn wir fod ynddi fwy o efrau ar rai adegau na'u gilydd; ac ar ambell

adeg y mae hi yn ymddangos fel maes o efrau o ben bwy gilydd. Er mor llygredig yw'r eglwys yn y dyddiau diweddaf hyn, y mae yn anawdd meddwl y gall hi fod yn fwy llygredig nag ydoedd yn y dyddiau diweddaf y mae'r apostolion yn cyfeirio attynt. Y mae awdwr yr ail epistol at Timotheus yn rhoi darluniad erchyll o'r byd Cristionogol yn y dyddiau diweddaf; a chofier fod y "dyddiau diweddaf" yn yr efengylau a'r epistolau yn golygu amser agos—amser a oedd wedi dechrau ac nid amser pell; canys yr oedd yr apostolion yn credu yr ymddangosai Crist i farnu'r byd yn eu dyddiau hwy; ac er fod apostol y Cenhedloedd wedi rhoi heibio gredu hyn pan scrifennodd ei lythyrau olaf; etto y mae yn amlwg oddi wrth adnod yn yr epistol cyntaf at Timotheus ei fod o hyd yn credu y byddai Timotheus fyw i weled diwedd y byd. Os oedd yr apostol gan hynny yn rhagddywedyd y byddai'r eglwys yn ddu ei lliw yn oes Timotheus, rhaid ei bod yn fwy na brith yn ei oes yntau; ac, yn wir, y mae'r apostol ei hun yn awgrymmu na allai hi fod byth yn llawer gwaeth. "Gwybydd hyn," eb efe, "y daw amseroedd enbyd yn y dyddiau diweddaf (sef rhwng yr amser y byddaf fi farw a'r amser y cippir dithau i fyny i gyfarfod â'r Arglwydd yn yr awyr), canys bydd dynion â'u serch arnynt eu hunain, yn ariangar, yn ymffrostgar, yn feilchion, yn gablwyr, yn anufuddion i rieni, yn anniolchgar, yn annuwiol, yn angharedig (sef heb gariad naturiol at eu perthynasau), yn torri cyfammod, yn enllibaidd (—yn ddiafliaid, ar ymyl y ddalen), yn aflywodraethus, yn fileinig, heb serch ar y da, yn fradwyr, yn waedwyllt, yn chwydd-edig, yn caru melus-chwant yn fwy nag yn caru Duw." "Ond," medd rhywun, "nid darlun o Gristionogion sydd yn yr adnodau yna." Ie, meddaf, canys yn yr adnod nesaf, yr ydys yn dywedyd: "A chanddynt rith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi." Y maent

yn annuwiol, yn wir; ond y maent yn grefyddol hefyd; canys y maent yn dyscu bob amser, fel yr ŷm ninnau yn dyscu yn yr Yscol Sul, yn y cyfarfodydd darllen ac yn yr odfeuon. Y maent yn broselytwyr gwresog, ac yn ymwelwyr heb eu bath, gan eu bod yn myned i mewn i deiau y buasem ni, gan mwyaf, yn rhy falch i fyned iddynt. Efrau ydynt, ond y maent ym maes Mab y dŷn. Plant diafol ydynt, ond y maent yn nheyrnas Dduw. Crefyddwyr annuwiol ydynt; neu, os mynnwch, annuwiolion crefyddol ydynt; ac annuwiolion crefyddol yw'r math adgasaf o annuwiolion, am eu bod hwy yn chwanegu at bechodau annuwiolion cyffredin y pechodau o ragrith a hunangyfiawnder. Y mae yn flin gan weision yr Arglwydd weled cynnifer o efrau ym mhlith y gwenith; am hynny, y maent yn eu heiddigedd yn gofyn iddo: "A fynni di i ni fyned a'u casclu hwynt?" "Na fynnaf," medd yntau, "gadewch i'r ddau gyd-dyfu hyd y cynhaeaf;" ac o bob tu i'r testyn, y mae yn rhoi dau reswm i ddangos pa ham y mae yn well eu gadael na'u casclu.

"Gadewch i'r ddau gyd-dyfu hyd y cynhaeaf (1) *rhag ichwi wrth gasclu'r efrau ddiwreiddio'r gwenith gyd â hwynt.*" Y mae yn amheus a ydyw'r Iesu yn y geiriau hyn yn condemnio pob math o ddyscyblaeth eglwysig; ond y mae yn sicr ei fod yn condemnio'r brys sydd ar rai pobl i ddiarddel, sef i fwrw allan o'r eglwys bawb y maent hwy yn eu galw yn efrau. Prin y gellir galw escymmundod yn ddiscyblaeth; am ein bod trwy escymmuno dynion, yn eu bwrw y tu allan i gylch discyblaeth. O fewn yr eglwys y mae discyblaeth, a thrwy gadw dynion yn yr eglwys y gellir yn orau eu cadw dan ddiscyblaeth. Ynddi hi, ac nid y tu allan iddi, yr ydys yn athrawiaethu, yn argyhoeddi, yn ceryddu, ac yn hyfforddi mewn cyfiawnder. Ynddi hi ac nid y tu allan iddi, yr ydys yn adgyweirio ac yn meithrin Y mae puro'r eglwys yn beth pwysig, yn ddïau; ond y

mae adgyweirio'r troseddwyr sy'n aelodau o honi yn beth pwysiccach na hynny. Mwy: y mae'r eglwys ei hun yn bwysiccach na phob discyblaeth eglwysig, canys er mwyn yr eglwys yr ordeiniwyd discyblaeth. Er hynny, y mae rhai yn llefaru ac yn gweithredu fel pe baent yn credu ddarfod ordeinio'r eglwys er mwyn discyblaeth; ïe, er mwyn discyblaeth nad ydyw yn ddiscyblaeth wirioneddol; am ei bod yn ddiscyblaeth y sy'n hytrach yn gospedigaeth nag yn addysciaeth. Yscol yw'r eglwys; ac nid cymdeithas o blant perffaith eu moesau, a chyflawn eu gwybodaeth ydyw yscol; eithr cymdeithas yn yr hon yr ydys yn ceisio gwneyd y rhai drwg yn dda, a'r rhai da yn well. Rhaid cofio fod yr eglwys yn dŷ mawr; ac am ei fod yn fawr, y mae yn anawdd ei gadw yn lân. "Cymhellwch hwynt i ddyfod i mewn," medd y gŵr yn y ddammeg, "fel y llanwer fy nhŷ." Gofelwch chwi am dŷ llawn ar hyn o bryd, a gofalaf finnau am dŷ glân ar ôl hyn. Dangoswch eich aidd yn hytrach trwy ddwyn i mewn na thrwy fwrw allan; canys y mae'r aidd sy'n gwahodd yn burach na'r aidd sy'n gwarafun. "Ewch, a gwnewch ddiscyblion o'r holl genhedloedd," medd yr Iesu wrth ei apostolion. Brysiwch i blannu, ond byddwch araf i chwynnu. Gellwch chwi helaethu fy eglwys; ond gwnewch a fynnoch, ni ellwch ei phuro heb ei niweidio. Cewch ynddi ddau fath o ddynion; er hynny, gadewch i'r ddau gyd-dyfu hyd y cynhaeaf. "Ond," eb y gweision, "fe *ymddangosodd* yr efrau: y maent bellach yn dwyn ffrwyth, ac y mae yn amlwg oddi wrth liw eu ffrwyth mai efrau ydynt. Ddoe ac echdoe yr oeddynt yn debyg i'r gwenith, ond heddyw maent yn annhebyg iawn. A fynni di i ni fyned gan hynny a'u casclu hwynt?" "Na fynnaf; er eich bod yn gwybod mai efrau ydynt, rhag ichwi wrth gasclu'r efrau ddiwreiddio'r gwenith gyda hwynt." Yma, y mae'r Iesu yn arferu rheswm y bydd arnom ni yn gyffredin ofn ei draethu

yn groew, er y byddwn yn ei deimlo; canys pe dywedem yn yr eglwys, "Byddwch esmwyth wrth y llange Absalom er mwyn Dafydd ei dad;" neu, "byddwch ymarhous wrth yr aelod hwn rhag peri tramgwydd i'w gyfeillion;" neu, "arbedwch y gŵr rhag niweidio'i wraig a'i blant," yna y mae yn debygol yr edliwiai meibion Serfia ein bod yn cefnogi penrhyddid, ac yn derbyn wyneb dynion. Ac etto i gyd, od oes i'r ddammeg y mae'r testyn ynddi ystyr o gwbl, y mae hi yn cynnwys hyn o leiaf; sef y dylem, cyn diaelodi neb o'r eglwys, edrych yn ddyfal pa fath effaith a gaiff hynny ar yr aelod ei hun, ar ei berthynasau ac ar ei gyfeillion. Yngolwg yr Iesu, cadw enaid yr aelod, ac nid cadw urddas y gymdeithas: adgyweirio'r troseddwr ac nid puro'r eglwys yw amcan mawr discyblaeth eglwysig. Hyd yn oed pe gwyddem yn sicr pwy ydyw'r efrau yn nheyrnas Dduw, ni byddai yn ddoeth ini eu diwreiddio, os byddai perygl ini ddiwreiddio'r gwenith gyd â hwynt. Gan fod gwraidd yr efrau a gwraidd y gwenith wedi cydymblethu; gan fod llinynnau perthynas a chyfeillgarwch yn cydio'r da a'r drwg ynghyd, ni allwn daraw'r euog heb glwyfo amryw o rai diniwed. Y ffordd fwyaf goddefadwy, a'r ffordd fwyaf effeithiol hefyd, i gau allan ragrithwyr o'r eglwys, yw i'r rhai sy'n cyfrif eu hunain yn wenith fod yn bur a diragrith eu hunain. Pe baent hwy cyn barotted i fucheddu yn llym ag ydynt i lefaru yn llym, fe ddywedid am rai annhebyg iddynt: "Pechaduriaid a ofnasant yn Sïon; dychryn a ddaliodd y rhagrithwyr;" ac fe lefai'r rhagrithwyr eu hunain: "Pwy o honom a drig gyd â'r tân ysol? pwy o honom a breswylia gyd â'r lloscfeydd tragwyddol?" Frodyr yn y ffydd, gadawn i eraill ddywedyd am danom fod ein santeiddrwydd yn dân ysol, a'n hyspryd yn yspryd barn ac yn yspryd lloscfa. Na ddywedwn ni wrth neb, ar air nac ymddygiad, "Na nesâ attom ni, canys santeiddiach ydym na thydi;" o herwydd plant y drwg ac nid

plant y deyrnas a fydd yn llefaru felly. Na frysiwn i ddywedyd yn ymhongar, "Nyni yw'r gwenith a chwithau yw'r efrau; am hynny fe'ch diwreiddiwn;" canys pwy ydym ni fel y barnem ein brodyr? Byddwn barottach i gondemnio'n hunain nag i gondemnio eraill. Diwreiddiwn, a hynny yn ddidostur, y drain y sy'n tagu'r gair; canys y mae'r drain hynny o'n mewn ni'n hunain; ond goddefwn yr efrau y sydd ym mhlith y gwenith, am fod yr efrau y tu allan ini. Yspryd Phariseaidd ac anghariadus sy'n ein cynhyrfu i fod yn llymmach wrth eraill nag wrthym ein hunain; ac oni ddylai'r fath yspryd a hwn beri ini ofni mai efrau—mai plant y drwg ŷm ni ein hunain?

Yr ŵyf yn gwneyd y sylwadau hyn, nid er mwyn rhoi ar ddeall na ddylai'r eglwys byth ddiarddel neb o'i haelodau, eithr er mwyn dangos y dylem fod yn barottach i oddef ein gilydd mewn cariad nag i gollfarnu'n gilydd. Yr oedd y Ioan oedrannus a'n hannogodd i garu'n gilydd, yn fwy o Gristion na'r Ioan ieuangc a ddymunodd am ddyfod tân o'r nefoedd i ddifa'r Samariaid angrediniol.

"Gadewch i'r ddau gyd-dyfu hyd y cynhaeaf, (2), *am fod Duw mewn amser cyfaddas*, a *thrwy weision cymhwysach, yn bwriadu gwahanu'r efrau a'r gwenith oddi wrth eu gilydd:*" "Yn amser y cynhaeaf y dywedaf wrth y medelwyr, cesclwch yr efrau .... i'w llwyr losci; ond cesclwch y gwenith i'm hyscubor." Y mae amser y cynhaeaf yn amser mwy cyfaddas i gasclu; am mai yn yr amser hwnnw y bydd y da a'r drwg wedi gorphen ymddadblygu. Y pryd hwnnw y bydd y rhai da wedi ymgadarnhau mewn daioni, a'r rhai drwg wedi ymgadarnhau mewn drygioni. Pa mor ladradaidd bynnag yr heuwyd yr efrau ym maes Mab y dŷn; etto, gan eu bod bellach yn y maes hwnnw, y mae yn fuddiol iddynt gael yr un cyfleusdra a'r gwenith i dyfu, i addfedu ac i ffrwytho; am hynny y mae Duw yn peri i'r haul y sy'n tywynnu ar y

gwenith dywynnu ar yr efrau hefyd, ac i'r glaw y sy'n discyn ar had Mab y dŷn ddiscyn ar had y gelyn ddŷn hefyd. "Gadewch i'r ddau gyd-dyfu hyd y cynhaeaf." Y mae Duw yn ymddwyn yn rasol, os nad yn gyfiawn hefyd, wrth wahardd i'w weision gasclu'r efrau cyn iddynt addfedu; canys er na ellir yn naturiol droi yr efrau yn wenith, fe ellir yn ysprydol droi plant y drwg yn blant y deyrnas. Fe ddichon i'r rhai sy'n ddrwg heddyw fod yn dda yfory. Y mae hi yn amser cymmeradwy ar bawb *hyd* amser y cynhaeaf. Nid yw'r Arglwydd yn gweled yn dda fedi'r efrau, mwy na'r gwenith, hyd oni byddont yn addfed; canys yr addfedrwydd y sy'n cymhwyso'r naill i'r yscubor sy'n cymhwyso'r llall i'r ffwrn.

Heb law nad yw hi etto yn amser cyfaddas i gasclu'r efrau, nid dynion yw'r personau cymhwysaf i wneyd y gwaith: "Yn amser y cynhaeaf y dywedaf wrth y medelwyr, Cesclwch yn gyntaf yr efrau." I'r medelwyr ac nid i'r gweision cyffredin—i'r angylion ac nid i ddynion y dyry'r Arglwydd y gwaith o gasclu a gwahanu. Y maent hwy yn gwybod ac yn gwneuthur ewyllys eu Harglwydd yn well nag y mae dynion; canys wrth ddywedyd "Gwneler dy ewyllys ar y ddaear megis y mae hi yn y nefoedd," hyn yr ŷm yn ei weddïo: O! na wnâi dynion dy ewyllys fel y mae'r angylion yn ei gwneuthur. Ac y mae 'r angylion am eu bod yn ysprydion, ac am eu bod yn greaduriaid hynach ac yn weision agosach i'w Harglwydd, yn adnabod dynion hefyd yn well nag y mae dynion yn adnabod eu gilydd. Y maent hwy, fel yr Iesu, yn gwybod beth sy mewn dŷn—beth sydd yn ei feddwl ac yn ei gàlon. Gwyddoch fod Dr. Röntgen, gwyddon o'r Almaen Uchaf, wedi darganfod goleuni y sy'n ei alluogi i weled escyrn dŷn trwy ei gnawd, a bod gwyddon o wlad arall wedi llwyddo ym mhellach i weled ymmennydd dŷn trwy ei benglog; ond nid oes neb hyd y gwn i yn gobeithio y

gall e byth ganfod y meddyliau y sydd yn yr ymmenynydd. Nid oes undyn yn honni y gall ddarganfod goleuni digon main i gyrhaeddyd trwodd hyd wahaniad yr enaid a'r yspryd. Ond y mae'r angylion yn byw mewn goleuni sy'n treiddio i ddyfnderoedd natur dŷn. A hwy yn ysprydion, y maent yn gweled yspryd dŷn. Yn wir, y mae yn debygol mai y rhan ysprydol o ddŷn a allant hwy ei gweled. Ond os ŷnt yn gallu gweled corff cnawdol dŷn o gwbl, y mae yn sicr nad yw'r corff hwnw ddim yn eu rhwystro i weled yr yspryd sydd o'i fewn. Ac y mae pob yspryd creedig yn dryloew—yn greadur noeth ac agored. Y mae yn ddigon i'r angylion edrych ar yspryd dŷn i allu gweled holl gynnwys yr yspryd hwnnw. Y maent yn gweled egwyddorion yr yspryd yn gystal a'i weithrediadau, yn gweled y dwythell a'r olwynion sydd ym mherfedd y cloc yn gystal a'r bysedd sydd ar ei wyneb. Y maent hefyd yn gweled y neillduol yn y cyffredinol—y meddyliau yn y meddwl, yr ewyllysiau yn yr ewyllys; ac os nad ŷnt yn gweled y gàlon gnawd, y maent yn gallu barnu meddyliau a bwriadau y gàlon. Y mae'r angylion gan hynny o ran eu natur, a'u hadnabyddiaeth o ddynion, yn gymmwys iawn i fod yn fedelwyr yn amser y cynhaeaf. Fe'n hadnabyddant yn y dydd hwnnw am eu bod yn ein hadnabod heddyw ac er pan ydym. Barnant yn gywir am danom yn nydd y farn am eu bod yn barnu yn gywir am danom bob dydd o'n hoes. Y maent yn ein gweled yn yr eginyn ac yn ein gweled yn y dywysen; yn edrych arnom ynglesni ieuengctid ac ym melyndra henaint. Gall dynion dwyllo'u gilydd; ond ni allant dwyllo'r angylion. Od oes rhai o honom heddyw yn ymddangos yn bobl amgenach nag ydym, cofiwn fod yn ein hymmyl greaduriaid anweledig y sy'n gweled trwy ein rhagrith i gyd. Y medelwyr ydynt; ac oni bâi fod twrf y byd wedi'n byddaru, fe'u clywem eisoes yn hogi eu crymmanau erbyn y cynhaeaf.

Ond er fod yr angylion yn eu hadnabod yn dda, nid ſynt yn adnabod neb yn ôl y cnawd, sef yn ôl ei waedoliaeth, ei gyfoeth, ei ddysc, a'i ddyrchafiad mewn cymdeithas. Nid ſynt hwy o'r un naturiaeth a nyni. Ysprydion ſynt hwy, a dynion ſyn ni; sef rhyw hanner angylion a hanner anifeiliaid. Nid ſynt hwy yn perthyn i ni, nac yn perthyn yn briodol i'w gilydd chwaith; a hynny am nad ſynt yn hiliogaeth. Creaduriaid gwahanedig ac annibynnol ſynt hwy, heb dad a mam, nac Adda ac Efa yn eu hachau. Wrth garu eu gilydd, nid yw rhwymau perthynasol, megis rhwymau hiliogaeth, rhwymau cenedl a rhwymau teulu yn dylanwadu arnynt hwy. Llawer llai y mae ganddynt achos i garu neu i gasàu *dynion* o blegid rhwymau perthynas; canys heb law nad ſynt yn hiliogaeth, nid ſynt o'r un naturiaeth a dynion. Yn eu teimlad tu ag at ddynion, y maent hwy gan hynny yn gwbl ddiragfarn; ac yn eu holl ymwneyd â dynion, y maent y creaduriaid mwyaf ammhleidgar yn llywodraeth Duw. Os ſynt yn caru rhai dynion yn fwy nag eraill, y maent yn gwneyd hynny yn unig am fod y rheini yn debyccach i Dduw; os ſynt yn casàu rhai dynion yn fwy nag eraill, y maent yn gwneyd hynny yn unig am fod y rheini yn debyccach i ddiafol. Nid yw fod rhai yn gyfoethog ac eraill yn dlawd, rhai yn ddeallus ac eraill yn anneallus, rhai yn feibion brenin ac eraill yn feibion cardottyn, yn effeithio dim ar eu teimlad na'u hymddygiad hwy. Y maent hwy yn sefyll ar dir rhy uchel i wneyd cyfrif o'r mân wahaniaethau hyn. Heb law hynny, gan eu bod yn greaduriaid o radd uwch a gwahanol, nid ſynt hwy yn gydymgeiswyr â dynion mewn dim; am hynny ni byddant hwy yn eiddigeddu wrth undyn am ei fod yn myned yn fawr ei olud, yn fawr ei wybodaeth, neu yn fawr ei fri. Ni byddant hwy un amser yn cenfigennu wrth y cyfoethog am ei fod yn gyfoethog, nac yn dirmygu'r tlawd am ei fod yn

dlawd. Am ddynion, y mae ynddynt hwy ormod o genfigen deuluol, o genfigen sectol ac o genfigen fasnachol: gormod o ragfarn o blaid eu cyfeillion a gormod o ragfarn yn erbyn eu gwrthwynebwyr, i farnu yn ddiduedd rhwng y da a'r drwg. Pa sawl un o honynt hwy a gyfrifai ei berthynasau drygionus ei hun gyd â'r efrau, neu a gyfrifai rai o grefydd wahanol gyd â'r gwenith? Y mae gan Fab y dŷn ryw waith i'r gweision, sef i ddynion, yn ei faes, ond nid yw casclu a chynnull y cynnyrch yn waith i neb o honynt; am hynny pan y bônt hwy yn gofyn iddo, "A fynni di ini gasclu'r efrau?" bydd yntau yn atteb yn bendant "Na fynnaf; yn amser y cynhaeaf, mi a ddywedaf wrth y medelwyr am eu casclu. Creaduriaid *i'w* medi ac nid *i* fedi ydych chwi: yr angylion yw'r medelwyr."

Y mae y rheswm yr ŵyf yn awr yn traethu arno, sef ail reswm yr Arglwydd am fynnu gadael i'r gwenith a'r efrau gyd-dyfu, yn awgrymmu fod perygl i'r gweision cyffredin ddiwreiddio'r gwenith *yn lle* yr efrau, ac nid gyd â hwynt yn unig. Gan fod y gwenith a'r efrau dros amser yn debyg i'w gilydd, y mae perygl ini alw'r da yn ddrwg a'r drwg yn dda. Gan na allwn chwilio calonnau, y mae yn rhaid ini farnu dynion wrth eu gweithredoedd, sef wrth actau neillduol; ac nid yw y rheini bob amser yn fynegiad cywir o'n tueddfryd gwastadol. Pe barnem y brenin Dafydd wrth rai o'i weithredoedd, penderfynu a wnaem mai efe oedd un o'r dynion mwyaf aflan, mwyaf gwaedlyd a mwyaf dichellddrwg y darllenasom am dano; ond os barnwn ef wrth rediad cyffredin ei fywyd, a'i ffyddlondeb i'w Dduw, yna rhaid ini gydnabod ei fod yn dduwiolach na llawer. Y mae y rhan fwyaf o honom yn rhy dueddol i farnu cymmeriad dŷn fel y bydd ambell feirniad yn barnu traethawd, sef trwy gyfrif ei feiau, ac nid trwy gyfrif a mesur ei ragoriaethau. Nid yw fod rhywun wedi ei ddiscyblu yn

gyhoeddus ddim yn profi fod hwnnw yn waeth na llawer eraill na ddiscyblwyd monynt eriôed. Profi yn unig y mae hynny ei fod ef unwaith o leiaf wedi pechu yn amlyccach nag eraill. Fe ddichon, yn wir, ei fod ef yn well na'i farnwyr, ond ei fod ef wedi ei demtio yn fwy na hwynt-hwy, neu ynte ei fod o eisiau gofal a chyfrwysdra wedi methu â phechu mor ddirgelaidd ag eraill. Meddwodd deg o aelodau yn y dref a'r dref, yr wythnos o'r blaen, ond un o honynt a ddiscyblwyd; am fod hwnnw, druan, wedi meddwi mewn stafell gyhoeddus, tra bu'r lleill yn ddigon call i feddwi mewn stafell ddirgel. Un wraig a ddaliwyd yn godinebu; ond bu'r Iesu yn dynerach wrth y wraig anffyddlon honno nag wrth y dyrfa o Iuddewon na ddaliwyd monynt yn gwneuthur yr un peth; am nad oedd hi mor ragrithiol ac annhrugarog a'i chyhuddwyr. Y mae arfer yr eglwys o ddiaelodi dynion yn hytrach o achos gweithred ddrwg nag o achos diffyg gweithredoedd da, yn rhoi cyfleusdra i'r efrau i ddiwreiddio'r gwenith; a thra bo'r eglwys wrth ddiscyblu yn rhoi mwy o bwys ar feiau nag ar ddiffygion, y mae y ddiscyblaeth honno nid yn unig yn aneffeithiol i buro'r eglwys, ond hefyd yn tueddu i'w gwneyd yn fwy ammhur. Ac nid yn unig trwy roi mwy o bwys ar feiau nag ar ddiffygion y mae discyblaeth yr eglwys yn annheg; y mae hi hefyd yn annheg trwy roi mwy o bwys ar rai beiau nag ar feiau eraill cynddrwg, os nad gwaeth; canys y mae hi yn cospi am chwant y cnawd, ac yn goddef chwant y llygaid a balchder y bywyd. Mewn geiriau eraill, y mae hi yn gwgu ar y pechodau y mae'r tlawd a'r anwybodus yn fwy chwannog iddynt, ac yn cau ei llygad ar y pechodau y mae'r cyfoethog a'r gwybodus yn fwyaf chwannog iddynt. Gwaeth na'r cwbl, bu'r eglwys lawer gwaith yn euog o ddiwreiddio'r gwenith yn lle'r efrau trwy gospi lliaws o'i haelodau am bechodau nad oeddynt yn bechodau yn erbyn rheswm a Scrythyr, ac am

gyfeiliornadau yr ydys bellach yn eu cyfrif yn wirioneddau. Felly, gan fod discyblaeth o anghenraid yn ammherffaith, ni ellir byth buro'r eglwys trwyddi hi. Y medelwyr ac nid y gweision: yr angylion ac nid dynion a fedr gasclu'r efrau o blith y gwenith.

Chwychwi y sy'n beio ar y gweision am fynnu diwreiddio'r gwenith gyd â'r efrau, ac yn lle'r efrau, attebwch hyn: A ddiolchwch chwi i'r medelwyr am gasclu'r efrau *o blith* y gwenith? A fydd yn well gennych syrthio yn nwylaw yr angylion pwyllog nag yn nwylaw dynion brysiog? A ellwch chwi edrych yn hyderus at amser y cynhaeaf—amser y medi, y gwahanu a'r llosci? O! y mae arnaf fi fwy o ofn y medelwyr nag o ofn y gweision, a mwy o ofn cyfiawnder nef nag anghyfiawnder dynion. Beth pe bâi cyfiawnder yn fy erbyn yn lle o'm tu? Beth a wnawn pe profid mai un o'r efrau ydwyf, a minnau yn proffesu fy mod yn un o'r gwenith?

Gyfeillion, yr ŷm oll yn wenith neu yn efrau—pa un? Yr ŷm oll yn tyfu yn well neu yn waeth—pa un? Yr ŷm oll yn addfedu i wynfyd neu i wae—i ba un? Nid ŷm oll, y mae yn wir, yn perthyn i'r gymdeithas yr ydys yn ei galw yn "seiat," ond yr ŷm oll yn perthyn i'r eglwys, yn ystyr rhydd a scrythyrol y gair. Yr ŷm oll yn dyfod i fwy neu lai o gyfarfodydd yr eglwys, ac yn cyfrannu rhywfaint tu ag at ei chynnal yn y wlad hon, a thu ag at ei helaethu mewn gwledydd eraill. Yr ŷm oll yn enwi enw Crist, sef yn galw'n hunain yn Gristionogion. Yr ŷm oll yn proffesu, yn uchel neu yn isel. Yr ŷm oll fel ein gilydd ym maes Mab y dŷn, sef y maes yr heuwyd yr had da ynddo. Ond nid pa le yr ŷm yw'r cwestiwn mawr, eithr pa beth ŷm—ai gwenith ai efrau? ai plant y deyrnas ai plant diafol?

Gwneled yr hwn a droes y dwfr yn win wyrth fwy, trwy droi yr efrau yn wenith, a gwneuthur y gwenith gwyn yn wenith gwynach, fel, ar ôl y cynhaeaf, y llewyrcho y rhai cyfiawn dros byth yn nheyrnas eu Tad.

## XXII.

## PECHOD YN COSPI.

JER. II. 19, 20, 23, 25.

YN y flaenaf o'r pedair adnod a ddarllenwyd y mae'r proffwyd yn traethu'r gwirionedd difrifol fod pechod yn dwyn ei gospedigaeth ynddo'i hun, ac yn yr adnodau eraill y mae yn profi ac yn egluro hynny trwy engreifftiau. Y mae yn dangos fod hyd yn oed diffyg daioni yn arwain yn y man i fai pendant, fod bai mawr o'i fynwesu yn arwain i fai mwy; a bod un bai yn magu beiau lawer. Y mae yn dangos fod pechod yn gosp am bechod, a bod y gospedigaeth gan hynny yn dyfod o'r pechod ei hun, ac nid oddi allan; ar air, fod y gospedigaeth yn naturiol ac nid yn fympwyol. Yn ol un o ddeddfau natur y cospir pob dŷn ar a gosper; ond gan nad yw holl ddeddfau natur namyn amlygiadau o ewyllys ddoeth y Creawdr, y mae yn iawn dyweyd mai Duw sy'n cospi. Yn wir, nid oedd y proffwydi yn petruso priodoli i Dduw natur bob peth yr ydym ni yn ei briodoli i ddeddfau natur. Er hynny, cofiwn mai fel barnwr cyfiawn ac nid fel brenin tra-arglwyddaidd; mai yn ol deddf, ac nid yn ol mympwy neu nwyd, y mae Duw yn cospi dynion. Cadarnhau y mae efe yr hyn y mae'r dŷn ei hun yn ei benderfynu; am hynny y mae'r un Yscrythyr ag sy'n dywedyd mai Duw y sy'n cospi yn dywedyd hefyd mai dŷn sy'n ei gospi ei hun; ïe, y mae hi yn dywedyd weithiau nad oes neb mewn gwirionedd yn ei gospi—nad yw Duw yn ei gospi ac nad yw yntau yn ei gospi ei hun, eithr mai ei bechod yn unig y sy'n ei gospi—fod y gospedigaeth yn ei bechod, ac yn tarddu yn naturiol o'i bechod—" Dy ddrygioni dy

hun a'th gospa di, a'th wrthdro a'th gerydda." Ai Duw a rwyma'r annuwiol yngharchar? Ie, a Nage. Ie, ac efe yn awdwr deddf. Nage, ac yntau heb fod yn awdwr pechod. "Ei anwiredd ei hun a ddeil yr annuwiol, ac efe a ddelir â rhaffau ei bechod ei hun." Pa beth y sy'n peri i ddiwinyddion basaf Lloegr wadu cospedigaeth dragwyddol yr annuwiol? Hyn yn bennaf, sef eu bod yn meddwl fod y gospedigaeth yn dyfod oddi allan yn unig, sef oddi wrth Dduw, a bod y Duw hwnnw yn ymhyfrydu mewn poenydio dynion, trwy eu rhostio dros byth mewn tân a brwmstan.

Pe bâi cospedigaeth yr annuwiol yn gospedigaeth allanol a matterol a dialeddol o'r fath yna, byddai yn iawn i bawb ei gwadu; ond nid oes neb mwyach a'r sy'n deall ystyr ffugrau Iddewig yn credu mai cospedigaeth felly ydyw cospedigaeth yr annuwiol. Os nad ydys yn deall ymadroddion ffugrol y Bibl, pwyser ar ymadroddion noethach ac eglurach. Yn awr, y mae'r Iesu yn dywedyd am yr hwn a gablo yn erbyn yr Yspryd Glân, sef yr hwn a benderfyno bechu yn erbyn y dylanwadau cryfaf, na cheiff efe faddeuant yn dragywydd, ond ei fod yn euog o bechod tragwyddol—o bechod tragwyddol, ac nid o "farn dragwyddol" fel yn y cyfieithiad cyffredin. Felly, os bydd y pechod yn dragwyddol, bydd y gosp hefyd yn dragwyddol; canys tra fo pechod ni phaid efe â chospi. O'r tu arall, pe gellid tybied am ddŷn damnedig yn edifarhau ac yn ymchwelyd at Dduw, yna fe beidiai uffern â bod yn uffern i'r dŷn hwnnw. Ond y pwngc ydyw a all dŷn edifarhau ar ol i bechod fyned yn rhan o'i natur? A fyn efe ymdroi at Dduw ar ol ymgadarnhau yn ei ddrygioni? A fyn efe fyned allan o uffern, ar ol i uffern fyned i mewn i'w galon?

Y mae diarhebion y cenhedloedd yn dyweyd na fyn efe ddim.—"Yr aderyn a fager yn uffern, yn uffern y mŷn drigo." "Cydfydd y fall â'i gallawr; câr lechu yn y

fagddu fawr." Ac nid yw'r ddwy linell hyn ddim amgen nag adnod wedi ei throi ar gân: "Hon yw'r ddamnedigaeth—hon yw'r farnedigaeth, ddyfod goleuni i'r byd, a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy na'r goleuni." Pa beth y mae'r annuwiol yn ei garu yn y byd hwn? Tywyllwch. Pa beth a fydd ei farnedigaeth yn y byd a ddaw? Tywyllwch fyth—yr un peth yn union ag y mae yn ei garu yn y byd hwn. Yn uffern, fe gaiff ei wala a'i weddill o'r pethau a chwennychodd ei enaid ar y ddaear. Nid ŵyf yn dyweyd y caiff e ddim blâs arnyn. Alaru a wna efe ar y soflieir; er hynny, bydd yn well ganddo'r soflieir na manna Duw. Pa fath le bynnag ydyw uffern, y mae yn lle sy'n gweddu i'r annuwiol yn well nag unlle arall. Pob un a aeth yno, fe aeth i'w le ei hun, at ei bobl ei hun, ac at ei bethau ei hun. Os bydd ganddo achos diolch am rywbeth, diolch a wna am na chymmerwyd ef i'r nef; canys byddai'r lle hwnw yn fwy annioddefol iddo ef nag uffern.

Heb law hynny, y mae profiad yn ein dyscu nad yw pechodau—pechodau'r yspryd, gan nad beth am bechodau'r cnawd, ddim yn marweiddio wrth heneiddio, eithr eu bod yn hytrach yn tyfu ac yn ymgryfhau. Cadarnhau pechod y mae amser, ac nid ei wanhau; a phan elo dŷn i'r byd tragwyddol, bydd ei bechod yn myned yn dragwyddol; a bydd pechod tragwyddol yn dwyn ynddo'i hun gosp dragwyddol. Nid oes gennym ddim achos i feddwl y bydd dŷn damnedig yn ddim gwell yn mhen mil o flynyddoedd ar ol ei fyned i uffern nag a fydd yn mhen mil o ddyddiau; ond y mae gennym lawer o achos i feddwl y bydd yn waeth. Er pan gwympodd dros y dibyn i'r pwll diwaelod, fe gwympodd yn gyflymach, gyflymach, ac a mwyfwy o nerth. Yno nid oes dim i'w attal rhag discyn yn îs, îs, byth bythoedd. Ystyriaeth ofnadwy ydyw hon; sef fod tuedd mewn pechod tymhorol i fyned yn bechod

tragwyddol, a bod dŷn wrth bechu dros amser yn dyscu pechu dros byth. Bydd ei gospedigaeth yn dragwyddol, am y bydd efe ei hun yn bechadur tragwyddol. Y mae "glyn terfyniad"—y mae awr benderfynol yn hanes pob dŷn. Y mae amser yn dyfod pan y bydd pob dŷn yn ymsefydlu naill ai mewn drygioni neu ynte mewn daioni; am hynny, cyhoeddi deddf naturiol y bydd y Barnwr yn y dydd diweddaf, pan y dywed "Yr hwn sy frwnt, bydded frwnt etto; a'r hwn sy gyfiawn bydded gyfiawn etto."

Er mwyn dangos pa fodd y mae pechadur yn myned o ddrwg i waeth, y mae'r testyn yn nodi tri cham yn ei yrfa. Yr ydys yn dangos pa le y mae'r pechadur yn sefyll trwy fynegi pa beth y mae efe yn ei ddywedyd am dano ei hun, a pha beth y mae Duw yn ei ddywedyd am dano: "Gwybydd dithau a gwêl mai drwg a chwerw ydyw gwrthod o honot"—ydyw gadael o honot yr Arglwydd dy Dduw; oblegid yr ŵyt ti er ystalm wedi torri dy iau a dryllio dy rwymau, a dywedaist "Ni wasanaethaf;" er hynny gwibio a wnaethost, gan butteinio ar bob bryn uchel a than bob pren deiliog. Felly y mae'r Hebraegwyr gorau yn cyfieithu yr adnod, ac felly y mae hi yn fwyaf dealladwy. Gadawodd Israel yr Arglwydd am nad oedd e yn ei ofni; a chan nad oedd arno ofn Duw, fe ddywedodd yn hyf "Ni wasanaethaf." Nid oedd ar hyn o bryd yn bwriadu gadael Duw er mwyn myned ar ol duwiau dieithr. Nid oedd chwaith yn bwriadu byw yn anghrefyddol. Penderfynu yr ydoedd na châi ei grefydd ddim bod yn wasanaeth. Ni fynnai fod yn was nac i'r gwir Dduw, nac i dduwiau dieithr chwaith. Mynnai fod yn feistr arno'i hun. Y mae'r ymadrodd felly yn gyfystyr âg ymadrodd y sydd yn adnod 31: "Arglwyddi ydym ni;" neu yn ol y cyfieithiad arall, "Rhyddion ydym." Er hynny, y mae Duw yn *rhoi* ar ddeall yn niwedd yr adnod na ddichon dŷn

roi heibio wasanaethu'r gwir Dduw, heb ymroi i wasanaethu rhyw dduw arall—er dywedyd o honot, Ni wasanaethaf, "er hynny ti a wibiaist, gan butteinio ar bob bryn uchel, a than bob pren deiliog." Gwibiwr, hoedyn, *flirt* crefyddol oedd efe, a chan ei fod yn fynych yn newid ei dduw, yr oedd yn meddwl ei fod yn cadw ei ryddid. Na thwyller di, ebe Duw; yr wyt yn gaeth i ryw dduw neu gilydd, er dy fod yn benrydd ac yn benchwiban. Ofer i ti ddywedyd Ni fynnaf wasanaethu; canys wrth beidio a'm gwasanaethu i, yr ŵyt yn gwasanaethu rhyw arglwydd arall gwaelach.

Pa ham y mae llawer dŷn ieuangc yn y dyddiau hyn, yn gadael Duw, ac yn gadael eglwys Dduw? Ai am ei fod yn penderfynnu byw yn annuwiol? Nage ddim; eithr am ei fod yn ewyllysio bod yn feistr arno'i hun, yn lle bod yn gaethwas i Dduw. Wrth dorri'r iau sydd ar ei war, a dryllio y rhwymau sydd am ei ddwylaw ac am ei draed, nid oes ganddo fwriad i dorri ei gymmeriad. Y mae efe o hyd yn grefyddol yn ei ffordd ei hun.

Bydd yn dyfod i'r odfa ar nos Sul, ac weithiau i odfa'r bore, ac i'r yscol hefyd, a phan y bydd ethol bugail neu ddiaconniaid, neu weinyddu discyblaeth ar aelod, fe'i gwelir hyd yn oed mewn cyfarfod eglwysig.

Er mor wibiog ydyw, y mae yn parhau i addoli rhywun neu gilydd, ac ni byddai yn waeth ganddo addoli Duw nag addoli Mammon, pe gellid ei addoli heb ei wasanaethu. Y gwasanaeth sy'n adgas ganddo. Y mae efe yn rhy annibynol—yn rhy falch i wasanaethu hyd yn oed y Duw goruchaf. Ac etto i gyd, wrth haeru na fyn efe wasanaethu neb, y mae yn gwasanaethu rhywun neu rywbeth. Y mae yn gwasanaethu ei bechod ei hun; canys pwy bynnag sy'n gwneuthur pechod, y mae efe yn was i bechod; a pha feistr salach a thostach na hwnnw? O ddŷn, pwy bynnag ydwyt, ofer yw iti chwarau'r meistr, a

dywedyd, Arglwydd ydwyf. Gwas ydwyt, a gwas a fyddi. Yr unig gwestiwn ydyw, Gwas pwy ydwyt? ai gwas pechod ynte gwas cyfiawnder? ai gwas diafol ynte gwas Duw? Dewis dy feistr, ac nid dewis dy swydd a ganiattawyd i ti.

Y mae'r adnod 23 yn dangos yr ail gam yngyrfa pechadur.—"Pa fodd y dywedi Ni halogwyd fi, ac nid aethum ar ol Baalim. Edrych dy ffordd yn y glyn, gwybydd beth a wnaethost; camel buan ydwyt yn amgylchu ei ffyrdd." Dyma'r aflan yn awr yn ymlanhau—yn ymlanhau nid oddi wrth ei bechod, eithr yn ei bechod. Y mae yn addef ddarfod iddo adael Duw, ond yn gwadu ddarfod iddo fyned ar ol Baalim; a chan ei fod yn dywedyd na wasanaethodd efe neb—na Duw na Baalim, y mae yn haeru na halogwyd mono. Pan ddechreuo dŷn daearu nad yw ei bechod ddim yn bechod, y mae wedi cymmeryd cam pellach tu a distryw. "Nid aethum ar ol Baalim:" hwyrach fod mesur o wir yn yr haeriad hwn; o blegid y mae Duw ei hun yn awgrymu mai gwibio—mai hoedenna yn unig a wnaeth Israel gyd â Baalim; ond, y mae aml dduw heb law Baal. "Edrych dy ffordd yn y glyn," ebe Duw; gwêl ol dy draed yn cerdded at allor Moloch ynglyn mab Hinnom. Pa faint gwell ŵyt o ddywedyd nad aethost ar ol Baal, os aethost ar ol Moloch? Y mae'r ymresymiad hwn bron yn gyfystyr âg ymresymiad Iago: "Pwy bynnag a gadwo'r gyfraith i gyd oll, ac a ballo mewn un pwngc, y mae efe yn euog o'r cwbl; canys y neb a ddywedodd Na odineba, a ddywedodd hefyd Na ladd; ac os ti ni odinebi, etto a leddi, yr wyt ti yn troseddu'r gyfraith." Pwy, ar ol taro dŷn yn ei lid, a ymescusai trwy ddywedyd, yn ei dalcen yn unig y tarewais ef. Wrth archolli'r talcen yr ydys yn archolli'r dŷn; ac fel y mae'r dŷn yn un, felly y mae'r gyfraith yn un; am hynny, y mae'r neb a dorro un o'i gorchmynion yn ei thorri hi.

Y mae llawer un etto, fel Israel, yn taeru na ddarfu iddo ar ol gadael Duw, fyned ar ol Baccus, Belphegor a Gwener, sef duw Meddwdod, duw Cnawdolrwydd a duw Pleser; ond pa faint gwell ydyw o hynny, os aeth efe ar ol Mawrth a Mammon? sef duw Rhyfel a duw Golud. Onid yw bydolrwydd yr un ffunud a chnawdolrwydd, yn halogi dŷn? Y dŷn a dorro'r 7fed a'r 8fed gorchymmyn, hwnnw y mae'r byd yn ei gyfrif yn ddŷn anfoesol; ond yngolwg Duw y mae'r dŷn a dorro'r 9fed a'r 10fed gorchymmyn hefyd yn ddŷn anfoesol. Y mae dwyn camdystiolaeth yn erbyn cymmydog, neu ddigio wrth frawd heb achos (ystyr); y mae chwennychu dim a'r sydd eiddo cymmydog, pa un bynnag ai cymmydog o berson ai cymmydog o genedl, y mae hynny hefyd yn anfoesoldeb, am ei fod yn drosedd ar gyfraith foesol. A ddywedi di na halogwyd monot am dy fod yn rhydd oddi wrth bechodau cnawdol? Y mae'r diafol hefyd yn rhydd oddi wrth y rheini; er hynny, ni chlywais i fod neb yn ei ganmol ef o blegid ei foesoldeb, na'i fod yntau ei hun, chwarau teg iddo, yn ymffrostio yn ei foesoldeb. Y mae dŷn, a diafol hefyd, yn greaduriaid rhy fychain i allu cyflawni pob rhyw bechod; er hynny gall y diafol annog dynion i wneuthur pechodau na all efe ei hun mo'u gwneuthur; a gall dŷn hefyd lwyr halogi ei natur trwy ymroddi i'r pechod y mae efe yn fwyaf tueddol iddo. Gall pob dŷn fyned yn glamp o bechadur trwy un pechod, a myned i mewn i uffern trwy un drws, er fod iddi hi ddrysau lawer. Nac edrychwn pa nifer o orchmynion a dorrasom, neu pa nifer a gadwasom o'n hieuengctid; edrychwn yn hytrach pa mor lwyr y torrasom neu y cadwasom *un* o honyn. Y mae ambell un wrth *gyfrif* ei bechodau yn cael ei hun yn bechadur bach; pe bâi yn mesur ac yn pwyso'i bechod, fe'i gwelai ei hun yn bechadur mawr. "Ni halogwyd fi," ac nid aethum ar ol Baalim. "Wele," medd Duw yn y 35 adnod,

"wele, dadleuaf a thi am ddywedyd o honot Ni phechais—pa ham y gwibi di gymmaint i newidio dy ffordd?" Y mae'r ymadrodd olaf hwn yn gyfystyr âg ymadrodd y sydd yn y testyn: "camel buan ydwyt yn amgylchu ei ffyrdd;" neu yn hytrach, gafr wyllt nwyfus ydwyt yn gwibio o amgylch. Fel pe dywedasai Duw, A rhoi nad ymlynaist wrth Baalim, pa ham y gwibiaist gymmaint oddi wrth un duw at un arall ac arall? Yr wyt yn hologi dy hun wrth newidio dy ffordd, yn pechu wrth fod yn anwadal.

Y mae llawer o eppil Israel etto yn y byd. Ni ellir eu cyhuddo o un bai cospadwy; er hynny y maent yn wammal iawn; ac y mae eu gwammalrwydd yn dangos eu bod yn halogedig yngolwg Duw. Gan na sefydlasan eu meddwl ar Dduw, ni allan ei sefydlu ar ddim arall chwaith. Y maent yn newidio'u ffordd i geisio difyrrwch, gan ei geisio heddyw yn y ffordd hon, ac yfory mewn ffordd arall. Y maent yn crwydro o fan i fan ac o gyfarfod i gyfarfod, yn unig er mwyn cael cyffroi eu teimladau. Plant ydyn, yn blysio melusion ac yna yn alaru arnyn; yn chwennychu tegan, ac yn ebrwydd yn blino arno. Nid oes i'w bywyd ddim amcan amgenach na cheisio mwyniant dros amser. Bywyd gwagsaw yw eu bywyd; a'r gwaethaf ydyw nad ydyn hwy ddim yn credu fod bywyd gwagsaw yn fywyd pechadurus. Ni halogwyd fi, medd un; Ni phechais, medd y llall; Diniwed ydwyf, medd un arall. Gwybydder fod y dŷn y sy'n pechu heb deimlo ei fod yn pechu wedi crwydro i wlad bell.

Ond y mae'r testyn yn yr adnod olaf yn sôn am dir pellach fyth, sef y tir lle bo dŷn yn mynnu pechu er gwybod ei fod yn pechu. Y mae Duw yn dywedyd wrthyt am wylio ar dy droed ac ar dy enau, "tithau a ddywedaist, Nid oes obaith; nac oes, canys cerais ddieithriaid, ac ar eu hol hwynt yr af fi." Y mae ambell un ar ol taeru nad oedd ei bechod ddim yn bechod, yn

myned o'r diwedd yn bechadur mor fawr fel y mae efe ei hun yn cael ei argyhoeddi ei fod yn bechadur, ac yn gymmaint o bechadur fel nad oes obaith iddo gael troedigaeth. Y mae yn addef bellach ei fod nid yn unig wedi gwibio gyda dieithriaid, ond ei fod hefyd wedi caru dieithriaid, sef wedi ymlynu wrthyn â'i holl galon. Y mae'r pechadur gwibiog wedi myned erbyn hyn yn bechadur sefydlog; y mae'r troseddwr gwagsaw wedi myned bellach yn droseddwr penderfynol. Y mae ei anobaith wedi ei wneyd yn rhyfygus—cerais ddieithriaid, ac ar eu hol hwynt yr af fi. Pa les yw i broffwyd na neb arall ddywedyd wrthyf am garu Duw fy nhadau, pan fo duwiau dieithr wedi lladratta fy nghalon? Gan ddarfod imi eu dilyn hwynt hyd yma, fe'u dilynaf hyd yr eithaf. "Ar eu hol hwynt yr af fi," ïe, pe baen yn fy arwain i ganol uffern. O nid yw yn anodd gen i gredu fod cospedigaeth dragwyddol, tra bwyf yn gweled ambell ddŷn yn *mynnu* bod yn bechadur tragwyddol. Pan fo'r annuwiol yn dywedyd, Mi fynnaf fi fy ffordd, pa beth amgen na hyn a all Duw ei hun ei ddywedyd wrtho: Ti gei dy ffordd, hyd derfyn eithaf tragwyddoldeb. Os anturia neb ddywedyd pa bryd y paid Duw â chospi, dyweded yn gyntaf pa bryd y paid pechadur â mynnu pechu. Os myn efe bechu ar y ddaear, pa beth a'i rhwystra i bechu yn uffern? Os myn efe bechu yno dros dymmor, pa beth a'i rhwystra i bechu dros byth? Mewn gwirionedd, nid oes dim a'i rhwystra i barhau i bechu, ar ol iddo ddechrau pechu yn wirfoddol ac yn benderfynol. Y mae pechod wedi myned i'w ewyllys ef, ac y mae hir ewyllysio yr hyn sy ddrwg wedi ei analluogi i ewyllysio yr hyn sy dda. Y mae'r duwiau a garodd efe wedi ei lygad-dynnu a'i wneyd yn ddibris—"Cerais ddieithriaid, ac ar eu hol hwynt yr af fi." Grym ei gariad tu ag attyn sy'n ei yrru ef ar eu hol, a hyd yn oed pe pallai ei

gariad, fe bery efe i fyned ar eu hol, gan rym arferiad.

Y mae penderfyniad dŷn i fyned rhagddo mewn pechod ynddo'i hun yn gospedigaeth arno am ymroddi i bechod; a hon yn wir yw'r gospedigaeth drymmaf a all efe ei dwyn arno'i hun. I mi, y mae fod pechod yn escor ar bechod yn beth mwy ofnadwy na bod pechod yn escor ar farwolaeth, am mai'r gospedigaeth foesol honno *sy* mewn gwirionedd yn gwaethygu natur dŷn. Nid ofn cael fy nghospi gan Dduw sydd arnaf fi, eithr ofn cael fy nghospi gan fy mhechod fy hun. Nid ofn myned i uffern sydd arnaf, os ŵyf yn haeddu myned yno, eithr ofn myned i dir na fedraf ac na fynnaf byth edifarhau. Nid ofn colli'r nef sydd arnaf, eithr ofn anghymmwyso fy hun i fwynhau'r nef. Y mae llawer yn ofni colli eu henaid yn y byd a ddaw, *am* geisio ennill y byd hwn, ond ychydig sy'n ofni colli eu henaid yn awr *wrth* geisio ennill y byd. Colli'r enaid trwy grebachu a halogi'r enaid yw'r golled fawr. Fe all Duw fy nghospi megis oddi allan trwy fy mhoeni, ond fy mhechod i fy hun a all fy nghospi trwy fy nrygu. Hwn a all andwyo fy natur; hwn a all ddinystrio fy enaid —"Dy ddrygioni dy hun a'th gospa di, a'th wrthdro a'th gerydda." "Onid tydi dy hun a beraist hyn," medd yr Arglwydd.

A oes yma rywun wedi pechu cymmaint fel y mae yn ofni nad oes obaith? Os wyt yn ofni nad oes obaith yna y mae gobaith. Y mae dy fod yn ofnus yn dangos nad ŵyt etto ddim wedi myned yn rhyfygus. Nid y ffaith dy fod hyd yn hyn wedi caru dieithriaid sy'n dy wneyd yn bechadur diobaith, eithr dy benderfyniad sefydlog i fyned ar eu hol hwynt hyd y diwedd.

A thybed dy fod wedi penderfynu caru hyd byth y duwiau

gwael a geraist hyd yn hyn? A ddywedi di eu bod cyn decced yn awr a phan aethost gyntaf ar eu hôl? A wyt ti yn cael cymmaint o hyfrydwch yn eu cymdeithas ag a ddisgwyliaist ei gael? Os bu un eilun wrth dy fodd, pa ham yr ymgyssylltaist ag amryw eilunod? Mewn difrif, oni bydd dy feddwl, ar ambell funud, yn rhedeg yn ol at yr Anwylyd gwyn a gwridog a adewaist yn nyddiau dy ffolineb? Oni bydd arnat, ar ambell awr unig a distaw, dippyn bach o awydd dychwelyd at hên Dduw dy dadau —y Duw sydd er hynny yn edrych yn ieuengach nag un duw dieithr? Gwybydd ei fod ef yn meddwl am danat ti o hyd—yn meddwl am danat fel yr oeddet ti gynt cyn iti wneuthur dy hun yn hyll trwy bechod. Hynny y mae efe ei hun yn ei ddywedyd yn nechrau y bennod: "Yr ŵyf yn dy gofio di"—yn cofio caredigrwydd dy ieuengctid, a serch dy ddyweddi. O! yr oeddet ti yn bropor, ym mlodau dy oedran. Onid oeddwn innau hefyd yn hawddgar? Pa anwiredd a gefaist ynof gan iti ymbellàu oddi wrthyf, a myned ar ol oferedd? Cofia beth a wnaethum iti. Onid myfi a'th ddug di i fyny o dir yr Aipht, a'th arweiniodd trwy yr anialwch, trwy dir diffaith a phyllau, trwy dir sychder a chyscod angau? Y mae yn wir ddarfod imi dy arwain *i*'r anialwch wrth dy arwain trwy yr anialwch, a'th arwain *i* dir tywyllwch er mwyn dy arwain trwyddo; ond nid pa fath oedd y lle yw'r pwnc, eithr pa fath un a fûm i tuag attat yn y lle. A fûm i yn anialwch i Israel? a fûm i yn dir tywyllwch? Pa fai a gefaist arnaf fi? Onid oeddwn i yn well na'r anialwch; ie, onid oeddwn i yn etifeddiaeth deccach na Gwlad yr Addewid? Cofia pa beth a fûm i fy hun iti. Pe bai'r gwrthgiliwr yn cofio pa fath un ydyw Duw, a pha beth a wnaeth efe erddo, nid hir y byddai heb edifarhau a dychwelyd atto. Y mae cofio yn ennyn edifeirwch, ac edifeirwch yn ail ennyn y cariad cyntaf y sy'n cymmell dŷn i wneuthur y gweithredoedd

cyntaf. Am hynny, y mae'r Iesu yn dywedyd yn Llyfr y Dadguddiad: "Cofia, ac edifarha, a gwna'r gweithredoedd cyntaf."

*Gorphenaf* 17, 1902.

## XXIII.

## Y COCHL.

### 2 TIMOTHEUS IV. 13.

Un o'r pethau sy'n peri i gynnifer o esponwyr diweddar wrthod y traddodiad mai Paul a scrifennodd yr epistol hwn, a'r ddau epistol bugeiliol arall, ydyw fod y tri epistol, o ran eu cynllun a'u cynnwys, yn annheilwng o Apostol y Cenhedloedd—mor annheilwng o honno fel nad ŷnt yn haeddu cael eu cyfrif gyd â'r llyfrau canonaidd. I brofi hyn, y maent yn cyfeirio at y testyn, a'r adnodau eraill sydd o'i amgylch, fel enghreifftiau o bethau a oedd yn rhy ddibwys ac yn rhy blentynaidd i'w cofnodi. Ond fe ddylid cofio mai llythyr cyfeillgar at berson, ac nid llythyr at eglwys, yw'r llythyr hwn, a bod yn naturiol iddo gan hynny fod yn fwy cyffredin ac yn fwy digysswllt na'r llythyr at y Rhufeiniaid. Heb law hynny, rhaid cofio fod Paul erbyn hyn yn hynafgwr, a'i fod hefyd yn garcharor, ac felly yn scrifennu mewn amgylchiadau anfanteisiol. Y mae efe'i hun yn dywedyd yn eglur yn y testyn nad oedd ei lyfrau wrth law, pan oedd yn scrifennu at Timotheus. Os nad yw'r llythyrau a scrifennodd efe o Rufain pan yn hynafgwr ac yn garcharor, mor fuddiol a'r llythyr a scrifennodd efe *i* Rufain pan yn ŵr canol oed ac yn ŵr rhydd, y maent yn llawn mwy dyddorol. Yn sicr, nid yw'r gwahaniaeth sy rhwng yr epistolau bugeiliol ac epistolau diamheuol Paul ddim yn profi nad efe oedd eu hawdwr.

Er nad oedd Paul pan yn scrifennu ei ail lythyr at Timotheus ddim yn dychmygu ei fod yn scrifennu llythyr a ddarllenid gan lawer cenedl ac mewn llawer oes, etto nid

yw'r fath bethau ag sy wedi eu cofnodi yn y testyn ddim yn anfuddiol i *ni* eu gwybod. Y maent, o'r hyn lleiaf, yn ein cynnorthwyo i adnabod y dŷn, ac y mae adnabod y dŷn yn ein cynnorthwyo i ddeall ei gennadwri, i farnu ei waith, ac i fesur ei grefydd. Dyweder fod yr apostol yn discyn yn swtta megis o entrych nef i iselder y ddaear wrth sôn am ei gochl a'i lyfrau, ac yntau newydd fod yn sôn am goron cyfiawnder, onid yw'r ffaith ei fod yn *medru* discyn mor isel ar ol escyn mor uchel, yn dadguddio i ni rywbeth am natur ei grefydd? Yr ydys yn gweled fod y testyn, a'r adnodau eraill sy'n cynnwys mân gynghorion, ac yn mynegi am fân helyntion, yn dilyn yn uniongyrchol yr adnodau mwy pwysig a mwy aruchel hyn: "Myfi yr awron a aberthir, ac amser fy ymddattodiad i a nesaodd. Mi a ymdrechais ymdrech deg; mi a orphenais fy ngyrfa; mi a gedwais y ffydd. O hyn allan rhoddwyd coron cyfiawnder i'w chadw i mi, yr hon a rydd yr Arglwydd, y Barnwr cyfiawn, i mi yn y dydd hwnw; ac nid yn unig i mi, ond hefyd i bawb a garant ei ymddangosiad ef." Pa ham y mae'r apostol, ar ol mynegi profiad mor nefolaidd yn ymroi i chwedleua am bethau mor ddaearol? Pa ham y mae yn gofalu am bethau y bywyd hwn ar fin marw, ac yn ymdroi mewn pethau amser ar gyffiniau tragwyddoldeb? Dyma'r atteb: y mae efe yn trefnu ei fân fatterion am ei fod eisoes wedi trefnu y matter mawr; y mae yn gofalu dros drannoeth am ei fod eisoes wedi gofalu dros dragwyddoldeb. Y mae yn ceisio'i gochl a'i lyfrau a'i femrwn am ei fod wedi ceisio yn gyntaf deyrnas Dduw a'i gyfiawnder. Gorphennodd Paul ei yrfa cyn gorphen ei fywyd, a phwy gan hynny a wêl fai arno am orphwys ennyd y tu yma i'r bedd, cyn myned i'r orphwysfa nefol; am ddymuno cael cochl dros ei yscwyddau, rhag cael annwyd ar ol chwysu yn rhedeg; ac am gael cyfeillion a llyfrau i'w ddifyrru, hyd oni elwid arno i dderbyn ei wobr?

Cyrhaeddodd efe'r porthladd cyn bod y llong a oedd i'w gludo i wlad well, wedi dyfod at y lanfa; y mae efe ei hun yn gwbl barod; y mae wedi codi ei doccyn er ysmeityn; y mae ei goffr a'i gelfi yn y ferfa ger llaw iddo; pwy gan hynny a warafun iddo edrych o'i amgylch ar y wlad a'r bobl y mae yn myned i'w gadael dros byth? pwy a warafun iddo rodio yn yscyfala yn ol ac ym mlaen, â'i bwys ar fraich Luc, y physigwr anwyl, a danfon cennad at Timotheus, ei fab naturiol yn y ffydd, ac at Marc ei weinidog ffyddlon, i beri iddynt frysio atto cyn iddo hwylio ymaith; ïe, pwy a warafun iddo eistedd ar y faingc a'i draed ym mhleth, ac agor papur y dydd, er mwyn darllen ynddo fân helyntion y byd bach yr oedd efe ar gefnu arno dros byth? "Ni frysia yr hwn a gredo"—a gredo mewn pryd. Ieuengctyd, gofelwch am y pethau mwyaf yn nechrau eich oes, fel y caffoch hamdden i ofalu am y pethau lleiaf yn ei diwedd.

Er y cwbl a ddywedwyd, nid yw'r testyn mor ddaearol a dibwys ag y mae yn ymddangos ar y golwg cyntaf; canys y mae yn dangos fod Paul, hyd yn oed ar ol gorphen ei yrfa, yn gofalu am yr holl ddŷn—am ei gorph, am ei enaid, ac am ei yspryd, ac yn hyn o beth, y mae efe yn esampl i ni, yn enwedig i ieuengctyd; a chynghorion syml i ieuengctyd, yn fwyaf neillduol, a fydd gennyf fi yn yr odfa hon.

Ym mlaenaf, *yr oedd Paul yn gofalu am ei gorff.*—"Y cochl a adewais yn Troas, pan ddelych, dŵg gyd â thi." Nid oes sicrwydd a fu yr apostol farw mor fuan ag yr oedd efe yn tybied y byddai, nac a fu e farw o gwbl trwy ferthyrdod; ond y mae yn amlwg ei fod ef yn credu y rhoddid ef i farwolaeth yn mhen ychydig o amser; ond er ei fod yn gwbl barod i roddi ei gorff i'w losci gan dân, neu i'w ddarnio gan gleddyf, neu i'w hoelio ar groesbren, er mwyn enw yr Arglwydd Iesu, etto nid oedd yn wiw ganddo

fod yn ddiofal am ei gorff yn y cyfamser. Yr oedd e yn synio y byddai'r aberth a wnâi o'i gorff yn fwy cymmeradwy gan Dduw, os byddai ei gorff yn iach a dianaf; am hynny gorchmynnodd i Timotheus ddwyn ei gochl, i fod yn amddiffyn iddo rhag oerfel a chlefyd. Yr oedd yn foddlon i'w elynion wneuthur fel y mynnent â'i gorff; ond yr oedd yn credu mai ei ddyled ef yn y cyfamser oedd cadw ei gorph yn iach. Os ydoedd i farw er mwyn Crist, yr oedd yn ewyllysio marw yn boenus ac o ddifrif, trwy ddioddef holl chwerwder marwolaeth; canys y dŷn iach a fedr farw yn drwyadl; y mae'r dŷn afiach yn rhy wan i *allu* dioddef llawer. Y dŷn Crist Iesu oedd y dŷn iachaf a droediodd y ddaear; ni bu efe erioed yn glâf—yn wir, nid oedd ganddo ef ddim amser i fod yn glâf; am hynny, efe yw'r unig ddŷn a brofodd farwolaeth yn ei holl erchylldod. Ni buasai efe yn Oen difeius, pe na buasai yn iach a dianaf, o ran ei gorff a'i enaid. Yn hyn o beth ni bu neb tebyccach iddo na'r Apostol Paul. Er iddo lafurio yn helaethach na'r holl apostolion, a chael ei gamdrin yn fwy na neb o honynt hwy, etto yr oedd bob amser yn llawn o fywyd ac o iechyd; ac er mwyn ymgadw yn iach yngharchar, ac felly offrymmu ei gorff yn ddifai i Dduw, y mae yn erchi dwyn y cochl a adawsai yn Troas.

Ieuengctyd, hyd y mae ynoch chwi, na wnewch gam a'ch corff trwy ddiofalwch na thrwy anghymmedroldeb mewn bwytta, mewn yfed, mewn chwarau, nac mewn dim arall. Edrychwch yn enwedig na wneloch gam âg ef trwy ei lygru; canys eich corff yw teml eich vspryd chwi eich hun, ac fe'i bwriadwyd i fod yn deml i Yspryd Duw hefyd. Cofiwch mai Duw ydyw Creawdr eich corff, ac na ellwch niweidio'r babell a wnaeth efe heb niweidio'r yspryd anfarwol sy'n trigo ynddi. Ystyriwch y gellwch wasanaethu'ch Duw, a gwasanaethu'ch cenedlaeth yn well mewn corff afiach, ac mewn einioes hir nag mewn einioes

fér; a bod dyled arnoch gan hynny er eich mwyn eich hun, er mwyn eich cyd-ddynion, ac er mwyn eich Arglwydd, i arfer pob rhyw foddion a alloch chwi i fyw yn hir, ac i fyw yn iach; ac os gostyngir eich nerth ar y ffordd trwy law ac ewyllys Duw, yna penderfynwch ogoneddu ei enw ef trwy ddioddef mewn amynedd.

Er pan amlygwyd i'r byd fod yn rhaid wrth chwech neu saith o Brydeiniaid i orchfygu un o'r Bwyriaid mewn rhyfel, ymgododd cri yn y wlad hon fod cyrff ei thrigolion yn ymddirywio; ac yr ydys wedi gofyn i'r Llywodraeth appwyntio commisiwn i geisio darganfod achosion y dirywiad. Yn y cyfamser, y mae pob pen yn y papurau yn traethu ei opiniwn ei hun; a rhyfedd mor wahanol yw opiniwn y naill i opiniwn y llall. Y mae rhai yn haeru mai bwytta gormod o gig yw achos y dirywiad, ac eraill yn haeru mai bwytta rhy ychydig yw yr achos; rhai yn haeru mai chwarau gormod yw'r achos, ac eraill yn haeru mai chwarau rhy ychydig yw'r achos; rhai yn priodoli'r dirywiad i yfed gormod o gwrw, ac eraill yn ei briodoli i yfed gormod o de; rhai yn priodoli'r dirywiad i waith y bobl yn bwytta bwyd siop yn lle bwyd cartref, ac eraill yn ei briodoli i goginiaeth wael yn y cartref; rhai yn priodoli'r dirywiad i waith mammau yn gwenwyno eu plant â the rhad o'r India, ac eraill yn ei briodoli i waith y bechgyn yn mygu sigarennau, ac i waith y genethod yn camwisco am eu canol ac am eu traed. Diau fod peth gwir yn y rhan fwyaf o'r haeriadau hyn, yn enwedig yn yr haeriad ynghylch bwytta gormod. Os derbyniwn farn y meddygon gorau, rhaid ini addef mai glythineb ac nid meddwdod yw'r bai cnawdol mwyaf cyffredinol yn y wlad hon. A siarad yn rhydd, glythineb yw tad meddwdod. Bwytta gormod, yn enwedig o gig, yw'r achos o yfed gormod—o yfed gormod o gwrw a gormod o de; a gwybydder nad yw te'r India ddim yn ddiod fwy dirwestol

nag yw cwrw, am fod ynddo elfenau sy'n porthi gwangc annaturiol. O achos ei fod, ac arfer ymadrodd y wlad, yn crafu'r gwddw, fel diodydd meddwol, yr ydys yn y wlad hon wedi myned i yfed te'r India yn lle'r te cymmedrolach a diniweitiach yr ydys yn ei yfed mewn gwledydd eraill. Heb law fod glythineb yn dad meddwdod, efe yw tad yr anianoldeb, y chwaraugarwch, y rhyfelgarwch a'r bwystfileiddiwch sy'n gwneyd cynnifer o drigolion y wlad hon mor debyg i farbariaid. Efe hefyd yw achos y rhan fwyaf o'r clefydau, yn enwedig clefydau cuddiedig, sy'n ffynnu yn ein gwlad. Os lladdodd meddwdod ei filoedd, fe laddodd glythineb ei fyrddiwn; ac etto, er ei fod fel y dywedais y pechod cnawdol mwyaf cyffredinol yn ein gwlad, odid byth y byddys yn y pulpud nac yn unman arall, yn dywedyd gair yn ei erbyn ef. Er fy mod yn gymmaint o ddirwestwr ag y dichon i neb fod, etto, yr ŵyf yn dywedyd wrth fy nghyd-ddirwestwyr: Wrth sôn am feddwdod, gosodwch lythineb gyd âg ef, ac o'i flaen, fel y gwnâi Iesu Grist—"Edrychwch arnoch eich hunain," eb efe, "rhag i'ch calonnau un amser drymhau trwy lythineb a meddwdod."

Ond nid pechodau cnawdol yn unig sydd yn niweidio'r corff; y mae pechodau ysprydol hefyd yn ei niweidio yn llawn mwy; a dyma achosion nad yw gohebwyr y newyddiaduron yn gwneuthur dim cyfrif o honynt. Y mae cenfigen yr un ffunud ag anniweirdeb yn pydru yr escyrn, y mae llid a chas yr un ffunud a glythineb a meddwdod yn peri i'r galon ballu. Os yw'r corff yn effeithio ar yr ysbryd, cofier fod yr ysbryd hefyd yn effeithio ar y corff; ac os yr yspryd yw rhan oruchaf dŷn, efe a ddylai fod yn arglwydd y corff. Am hynny, os mynnech ofalu yn briodol, am eich corff, edrychwch na wneloch gam â'r yspryd sy'n ei lywodraethu. Wrth ofalu am eich corff yn uniongyrchol, gofelwch fwy am ei iechyd a'i gyssur nag am ddim arall. Ni chwennychodd Paul ddim amgen na

chochl i'w gadw ei hun rhag oerfel—"Os bydd gennym ymborth a dillad, ymfoddlonwn ar hynny."

Er mai Cristionogaeth yw'r grefydd fwyaf ysprydol o bob crefydd, etto hyhi sy'n rhoi mwyaf o fri ar y corff. Bu yn wiw gan Fab Duw wneud y corff yn babell iddo, ac y mae yn wiw gan Ysbryd Duw wneyd y corff yn deml iddo ac y mae Duw ei hun yn addaw rhoddi i bob yspryd gorff newydd, anllygredig, yn lle'r corff llygredig sy'n dychwelyd i'r ddaear—"Ni a wyddom, os ein daearol dŷ o'r babell hon a ddattodir, fod i ni"—nid y bydd ini, eithr fod i ni eisoes "adeilad gan Dduw," sef tŷ, sef corff nid o waith llaw, eithr un tragwyddol yn y nefoedd.

Yn ail, *yr oedd Paul yn gofalu am ei enaid*, sef ei feddwl; ac am hynny y mae yn gorchymmyn i Timotheus ddwyn llyfrau iddo.—"Pan ddelych, dwg gyd â thi y llyfrau." Y mae yn debygol nad llyfrau cyssegredig ydoedd y rhain, eithr llyfrau paganaidd, fel cân y bardd Aratus o Cilicia, a chân y athronydd Cleanthes o Lycia i'r duw Iau, a llyfrau hanner paganaidd yr Iddew Platonaidd Philo; canys y mae mwy o ôl darllen y llyfrau hyn ar bregethau ac epistolau Paul nag sydd o ôl darllen dim arall, oddi gerth yr Hen Destament, ac esponiadau y Rabbiniaid. Er nad oedd Paul mor ddyscedig o lawer ag oedd prif scrifenwyr Groeg a Rhufain, etto yr oedd yn fwy dyscedig nag odid neb o'r Rabbiniaid Iddewig. Yr oedd ei fod wedi ei fagu yn ninas Tarsus yn ei wneud yn gyfarwydd â syniadau ac â llyfrau paganaidd a oedd yn gwbl ddieithr i Iddewon Palestina; ac yr oedd hynny yn ei wneud ef yn eangach ei galon ac yn rhyddach ei fryd na hwynt-hwy. Buasai efe cyn guled ei syniadau ag oedd Iago, brawd yr Arglwydd, pe na buasai wedi gweled, a darllen mwy na Iago. Anawdd dros ben fuasai iddo ymwrthod mor llwyr âg Iddewiaeth, a bod yn apostol i'r Cenedloedd, pe na buasai wedi ei fagu ym

mhlith y Cenedloedd. Ni buasai yn gystal ymresymmwr ag ydoedd pe na buasai yn gynnefin â'r Groegiaid ac â llyfrau Groegaidd; canys yr oedd yr Hebreaid, a'r holl genedloedd Semitaidd, yn gwbl analluog i ymresymmu. Yn wir, yr oedd yr iaith Hebraeg yn rhy brin o foddau ac amserau ac yn rhy lac ei chyfansoddiad i neb allu ymresymmu ynddi; er ei bod yn iaith wych i farddoni, i adrodd, i ddiarhebu ac i gynghori. Y mae yn ddiammau y buasai Paul ei hun yn medru scrifennu Groeg yn gywirach ac yn oleuach, ac yn medru rhesymmu yn fanylach, pe buasai wedi dyscu Groeg a rhesymmeg yn yscolion y Groegiaid, ac felly na buasai raid i awdwr ail epistol Pedr gwyno fod yn epistolau Paul rai pethau anawdd eu deall, ac na buasai raid i ninnau wrth gynnifer o esponiadau er mwyn deall ei epistolau. Ond yn lle gresynu na chawsai yr Apostol fwy o fanteision addysc yn ei ieuengctid, llawenychwn ei fod wedi cael cymmaint mwy o fanteision nag Iddewon eraill ei oes. Pan gofier fod gan yr Iddewon lawn cymmaint o ragfarn yn erbyn llenyddiaeth y Groegiaid ag sy gan Gymry a Saeson cyffredin yn erbyn llenyddiaeth y Ffrangcod, a llenyddiaeth yr Ellmyn, a bod ar rieni Iddewig ofn rhag i'w plant ddarllen dim heb law scrifeniadau eu cenedl eu hun, y mae yn rhyfedd fod Paul mor hyddysc ag ydoedd yn llyfrau'r Cenedloedd.

Er fod yr apostol yn ddŷn prysur odiaeth, ac yn deithiwr diorphwys, etto ni chollodd flas ar ddarllen. Yr oedd yn cludo'r llyfrau gyd âg ef dros foroedd a chyfandiroedd, ac er ei fod erbyn hyn yn hên ŵr, ac yn disgwyl amser ei ymddattodiad, y mae yn penderfynu glynu wrth ddarllen hyd yr awr olaf. Y mae yn chwennychu marw nid yn unig ynghanol ei gyfeillion byw, sef Marc a Luc, Titus a Thimotheus, ond hefyd ynghanol ei gyfeillion marw, sef ei lyfrau. Y mae yn myned i gyfarfod Angau dan ddarllen,

gan farnu yr âi ei ben yn fwy wrth ddarllen, ac mai po mwyaf fyddai ei ben, mwyaf oll fyddai ei goron.

Ieuengctyd, na adewch i brysurdeb eich galwedigaeth beri i chwi golli blas ar ddarllen; canys hyd yn oed pe casclech ddigon o olud i fyw arno yn niwedd eich oes, ychydig a drwg fydd blynyddoedd eich ymneillduad, oni bydd gennych hyfrydwch mewn darllen. Gellwch golli'ch holl gyfeillion byw o un i un; ond am eich cyfeillion marw, sef eich llyfrau, gellwch eu cadw hwy hyd y diwedd. Ac y mae llyfrau mewn rhai pethau yn amgenach cyfeillion na dynion. Gellwch fyned attynt heb gymmaint a'u cyfarch, a'u gadael yn gwtta heb ofyn eu cennad. Os digiwch wrthynt ni ddigiant hwy wrthych chwi; os dywedwch yn eu herbyn, ni'ch gwrthattebant; os esceuluswch hwynt dros ennyd, ni sorrant ddim. Er fod y rhai gorau o honynt yn feibion tywysogion y byd, etto y maent wrth orchymmyn a gwasanaeth dynion o bob gradd ac o bob oed. Gwnewch i chwi gyfeillion o lyfrau, fel pan eloch yn hên y bo gennych rywrai i'ch derbyn pan fo llawer yn eich gwrthod. Hwyrach y byddwch y pryd hwnnw mewn rhyw fath o garchar—yngharchar mewn yspytty, neu yn eich tŷ ardrethol eich hun, gan glefyd neu glwyf, a phan fo dŷn yngharchar, y mae llyfrau yn gyfeillion a lŷn wrtho yn well na brawd.

Ymhoffwch mewn llyfrau, nid mewn llyfrynach a phapurach. Ie, bydded eich chwaeth nid yn unig yn uchel, ond hefyd yn amrywiol; am hynny ymhoffwch yn fwy mewn llyfrau nag mewn llyfr, fel pan beidio un llyfr a'ch diddanu, y galloch droi at ryw lyfr arall; canys y mae yn digwydd weithiau fod llyfr yr ieuangc yn peidio â bod yn llyfr yr hên, a llyfr yr iach yn peidio â bod yn llyfr yr afiach. "Pan ddelych, dwg gyd â thi y llyfrau," ebe Paul wrth Timotheus. Bu gynt fwy na digon o ganmol ar ddŷn yr un llyfr. Dïau fod dŷn *un* llyfr yn well o lawer

na dŷn heb lyfr yn y byd; ond dŷn cyfyng ar y gorau, ydyw yntau. Ar ei dommen fechan ei hun yn unig y mae efe yn gryf ac yn ofnadwy. Y gwir ydyw na ellir deall un llyfr yn dda heb ddarllen llyfrau lawer; canys y mae ym mhob llyfr cynnwysfawr liaws o gyfeiriadau at bersonau a lleoedd a phethau na cheir dim eglurhad arnynt yn y llyfr ei hun. Y mae yn debygol mai Gwladwriaeth Plato yw'r llyfr cyfoethoccaf o bob llyfr oddi gerth y Beibl, a bod darllen yr un llyfr hwnnw yn gwneyd darllen miloedd o lyfrau eraill yn beth diangenrhiad; a hynny am fod y gŵr mawr a'i gwnaeth wedi rhagweled ym myd y meddwl agos bob peth a welodd pob dŷn arall a ddaeth ar ei ol; etto, ni ellir bellach iawn-ddeall y llyfr hwnnw, hyd yn oed mewn cyfieithiadau da fel yr eiddo Schleirmacher a Cousin a Jowett, heb ddarllen llyfrau eraill sy'n egluro'r cyfeiriadau sydd ynddo at bersonau a syniadau ac arferion Groegaidd. Er fod y Beibl yn llyfr y bobl yn anad un llyfr, a'i fod yn abl i wneuthur pob un a'i darlleno yn ddoeth i iachawdwriaeth trwy y ffydd sydd yNghrist Iesu; etto ni ellir ei ddeall yntau yn weddol dda heb wybod hanes a llenyddiaeth a hynafiaethau a chrefyddau a defodau ac arferion cenedloedd y Dwyrain. Y mae rhai pobl fychain a hunanol yn ymffrostio y medrant hwy ddeall y Beibl trwy synnwyr y fawd, heb gymmorth un esponiad; ond y mae pobl fwy a gwyddeiliach yn addef nad ŷnt yn deall rhanau helaeth o honno, er darllen esponiadau lawer, ac er ymgymhwyso i fod yn esponwyr eu hunain. Y mae lliosogrwydd esponiadau, ynghyd âg amledd cyfundebau Cristionogol, ynddo'i hun yn profi fod yn y Beibl bethau anhawdd eu deall. Y mae neges fawr Duw at ddŷn yn ddigon eglur, ond y mae ffurf y neges yn aneglur.

Y mae dŷn un llyfr yn gwybod rhywfaint; ond y mae dŷn llyfrau yn gwybod mwy o lawer; am fod amryw lyfrau

yn ei alluogi i ddeall yn well ryw un llyfr rhagorol. Darllenwch lyfrau gan hynny er mwyn gallu iawn ddarllen un llyfr.

Heb law hynny, darllenwch lyfrau er mwyn eangu'ch meddwl a'ch calon. Yr ydys yn ein cyhuddo ni, y pregethwyr, o fod yn fwy cul-farn nag odid un dosparth o ddarllenwyr, nid am ein bod yn ddarllenwyr un llyfr, eithr am ein bod yn ddarllenwyr un math o lyfrau, sef llyfrau crefyddol a diwinyddol; a llyfrau diwinyddol o'r un yscol hefyd; ïe, yr ydys yn cyhuddo rhai o honom o ymfoddloni ar ddarllen rhyw fân lyfrau poblogaidd sy'n ein cynnorthwyo yn unig i wneuthur pregethau, ac o fod yn ddieithr i lyfrau mawr y byd. Os yw hynny yn wir, yna yr ydym yn wahanol iawn i Apostol y Cenedloedd. Yr oedd yn wiw ganddo ef o'i febyd yn Tarsus hyd i'w henaint yn Rhufain ddarllen llyfrau yr hên baganiaid ardderchog a gododd Duw i oleuo meddwl y byd cyn anfon ei Fab i droi ei galon. Y mae yn wir fod perygl mewn darllen llyfrau gwych nad ŷnt yn gwbl grefyddol; er hynny gwynebwch y perygl; canys oni feistrolwch lenyddiaeth y byd, ni ellwch byth orchfygu'r byd—dilynwyr iddo a fyddwch ac nid arweinwyr. Mynnwch wybodaeth er ei bod yn beryglus; canys y mae anwybodaeth yn fwy peryglus fyth. "Anwybodaeth yw mammaeth duwioldeb," medd Eglwys Rhufain; ac y mae rhai Protestaniaid yn dywedyd yr un peth ychydig yn llai croch; ond hyd yn oed pe baent yn dywedyd mesur o wir, yr ŵyf yn gofyn, pa werth sy mewn duwioldeb y sy'n ffrwyth anwybodaeth? Duwioldeb y mae gwybodaeth yn fammaeth iddi—duwioldeb Moesen a Phaul, duwioldeb Awstin a Pascal, dyna'r dduwioldeb werthfawroccaf.—"Pan ddelych, dŵg gyd â thi y llyfrau," fel y darllenwyf etto cyn fy marw yr hyn y mae Arabus a Cleanthes yn ei ddywedyd am eu Duw, a'r hyn y mae Philo yu ei ddywedyd am Plato. Gallaf fi

dynnu mêl o scerbwd y llew. Pur yn ddïau yw pob peth i'r rhai pur.

Yn drydydd, *yr oedd Paul yn gofalu am ei yspryd*—yn gofalu mwy am ei yspryd nag am ei gorff a'i enaid; am hynny, y mae yn gorchymmyn i Timotheus, ddwyn y memrwn iddo—"Pan ddelych, dwg gyd â thi'r cochl, a'r llyfrau, yn enwedig y memrwn." Y mae yn hawdd gen i gredu'r esponwyr sy'n dywedyd mai'r Hen Destament, neu rannau o hono, oedd yn scrifennedig ar y memrwn, ac y mae pob rhyw dda a ddywedodd yr apostol am yr Hen Destament yn gymmwysiadwy at yr holl Feibl; felly wrth sôn am y memrwn sôn am y Beibl y byddaf fi. Scrifeniadau ar bapur oedd y llyfrau, ond scrifeniadau ar groen oedd y memrwn; ac fel y mae croen yn rhagori ar bapur, felly y mae'r Beibl yn rhagori ar bob llyfr arall, fel llyfr ysprydol. Gan imi fod yn ddigon rhydd i'ch annog i ddarllen llyfrau, dïau y byddwch bellach yn barottach i wrando arnaf yn eich annog i ddarllen llyfr—llyfr y llyfrau, y llyfr, yr unig lyfr y mae ei ddail yn crynu gan chwythad anadl yr Hollalluog. Nid llyfr ymarfer corfforol, na llyfr ymarfer meddyliol, ydyw hwn, eithr llyfr ymarfer ysprydol. Gyfeillion ieuangc, cofiwch fod yn eich corff enaid, a bod ynghanol eich enaid yspryd. Yr yspryd hwn yw y rhan oruchaf o honoch, y rhan anfarwol, y rhan sy'n eich cyssylltu â Duw, ac yn eich gwneud yn gyfrifol i Dduw. Yr ydych yn gofalu am eich corff, trwy ei borthi a'i wisco, ac yn gofalu am eich enaid, trwy ei ddyscu mewn yscol ar ol yscol; pa ofal yr yr ydych yn ei gymmeryd am eich yspryd? Hwn sy'n rhoi bri ar eich corff, ac ar eich enaid hefyd. A adewch chwi i hwn ymgrebachu, tra bo'ch rhannau eraill yn tyfu? A ydych yn ceisio elw ac enw; ïe, a ydych yn ceisio pethau mwy angenrheidiol, megis ymborth a dillad, heb geisio yn gyntaf deyrnas Dduw a'i gyfiawnder? Pa elw sy'n gyd-

werth â theyrnas Dduw? pa enw a wna'r tro yn lle'i gyfiawnder ef? Pa les i chwi fod yn gyfoethog tu ag at ddynion heb fod yn gyfoethog tu ag at Dduw, neu fod yn enwog ar y ddaear, oni bydd eich enwau yn scrifennedig yn y nefoedd? Beth a dâl ichwi yn y diwedd fod yn iach heb fod yn sanctaidd, a bod yn ddoeth heb fod yn dda? Yn wir, y mae yn annichon ichwi fod yn *ddoeth* i iachawddwriaeth, trwy ddarllen llyfrau dynion, na thrwy ddarllen llyfr Duw chwaith, oni bydd y gair a ddarllenoch wedi ei gyd-dymheru â ffydd. Y llyfr hwn sy'n mynegi am Iachawdwr a iachawdwriaeth, ac yn mynegi i ni ffordd iachawd wriaeth. Iachawdwriaeth, wedi'r cwbl, ac nid addysc, yw angen mawr y byd—iachawdwriaeth ac nid iechyd. Nid dynion yn unig ydym ni, eithr pechaduriaid o ddynion; am hynny trwy'n hachub y gellir ein haddyscu. Bechaduriaid ieuangc, mawrhewch lyfr mawr yr achub—y llyfr sy'n gwneuthur y gwirion yn ddoeth, trwy droi yr enaid, ac yn goleuo'r llygaid, trwy buro'r galon. Pan eloch i'r yscol cymmerwch gyda â chwi rai llyfrau heb law llyfrau addysc, yn enwedig y memrwn. Pan eloch o'r yscol allan i'r byd, yn brentisiaid neu feistriaid, cymmerwch gyd â chwi rai llyfrau heb law llyfrau'ch galwedigaeth—yn enwedig y memrwn. Pan fyddoch mewn gofid neu gystudd, ymgyssurwch trwy ddarllen llyfrau—yn enwedig y memrwn; a phan ddeloch o'r diwedd i wyneb Angau, brenin y dychryniadau, darllenwch, os medrwch, y pryd hwnw,—yn enwedig y memrwn. Darllenwch ef yn awr, fel y gwypoch y ffordd y dylech rodio ar hyd-ddi trwy anialwch y byd hwn. Darllenwch ef ar hyd eich oes, fel y gwypoch ansawdd y wlad ddieithr yr ydych oll, o'ch bodd neu o'ch anfodd, yn myned i mewn iddi. Pan ddelo'r amser ini adael ein cochl, a'n llyfrau, a'r memrwn hefyd, ar ol, caniattaed Duw ini allu dywedyd yn dawel fel yr apostol, "Mi a ymdrechais ymdrech deg, mi a orphenais

fy ngyrfa, mi a gedwais y ffydd. O hyn allan rhoddwyd coron cyfiawnder i'w chadw i mi, yr hon a rydd yr Arglwydd, y Barnwr cyfiawn (â'i law ei hun) i mi yn y dydd hwnnw, ac nid yn unig i mi ond hefyd i bawb a garant ei ymddangosiad ef." Rhad arnoch, er mwyn ei enw.

*Ebrill* 22, 1904.

## XXIV.

### YR AWR A FYDD YN AWR Y SYDD.

IOAN V. 24 a 25.

FEL rheol, y mae'r cyfieithiad Cymreig o'r ddau Destament yn rhagori ar yr hên gyfieithiad Seisnig, ac yn tebygu yn fwy i'r cyfieithiad diwygiedig; ond yn y flaenaf o'r ddwy adnod a ddarllenwyd, y mae'r cyfieithiad Seisnig yn rhagori ar yr un Cymreig. Yn wir, y mae'n cyfieithiad ni yn un cwbl gamarweiniol, am ei fod yn cuddio'r gwirionedd arbennig y mynnai'r Iesu ei wneyd yn amlwg; sef, fod y bywyd tragwyddol a'r adgyfodiad i fywyd, a'r farn, nid yn unig yn bethau i ddyfod, eithr hefyd yn bethau y sydd yr awr hon. Felly, yn lle bod rhai o'r berfau yn yr amser dyfodol, dylasent fod yn yr amser presennol, fel hyn, "Y neb sy'n gwrando fy ngair i, ac yn credu i'r hwn a'm hanfonodd, y mae ganddo ef fywyd tragwyddol, ac nid yw yn dyfod i farn, eithr y mae efe wedi myned trwodd o farwolaeth i fywyd." Y mae yn wir mai yn yr amser dyfodol y mae berfau yr adnod olaf o'r ddwy, yn y gyniaith a'r gyfiaith; er hynny, y mae'r adnod honno, fel yr un o'i blaen, yn rhoi ar ddeall y bydd y credinwyr fyw, h.y., yr adgyfodir hwynt yn ysprydol cyn gynted ag y clywont lef Mab Duw, a bod yr awr y clywir y llef honno yn awr sy'n bod ar hyn o bryd,—"Y mae'r awr yn dyfod, ac yn awr y mae." Y mae'r gwirionedd sydd yn y testyn mor bwysig, mor ryfeddol, a bron na ddywedwn, mor anhygoel, fel y mae'r Iesu yn myned ar ei lw ddwywaith wrth ei ddywedyd: "Yn wir, yn wir, meddaf ichwi, yn wir, yn wir, meddaf ichwi.' Hwyrach y bydd yn haws i rai ganfod y gwirionedd hwnnw wrth imi amgeneirio a

helaethu ymadroddion y testyn fel hyn: "Yn wir, yn wir meddaf ichwi,y neb sy'n gwrando fy ngair i, ac yn credu i'r hwn a'm hanfonodd i," hynny yw, y neb sy'n derbyn fy athrawiaeth i, ac yn credu i Dduw ar bwys yr athrawiaeth honno, y mae ganddo ef eisoes fywyd tragwyddol; ac am hynny, nid yw hwnnw yn dyfod i farn—i nebrhyw farn, ar nebrhyw bryd, eithr y mae efe wedi myned trwodd o farwolaeth i fywyd. "Gosodwyd i ddynion farw unwaith, ac wedi hynny bod barn." Y tu hwnt i farwolaeth, a'r tu yma i fywyd y mae lle'r farn; ond y mae'r neb a gredodd wedi myned heibio i'r farn, o farwolaeth i fywyd. Gan fod y bywyd *ynddo*, y mae efe wedi myned i fywyd, a hwnnw yn fywyd tragwyddol; am hynny, nid oes un farn yn ei aros ef, na dim lle i'r farn yn ei hanes ef. Y mae yn wir y rhaid iddo yntau, fel eraill, ymddangos ger bron fy mrawdle i; ond nid i'w farnu y rhaid iddo ymddangos yno, eithr yn unig i dderbyn ei wobr. Yn wir, bydd efe yno yn debyccach i farnwr nag i ddŷn barnedig, canys "oni wyddoch chwi y barna'r saint y byd?" "Yn wir, yn wir, meddaf ichwi, y mae'r awr yn dyfod, ac yn awr y mae, pan glywo'r meirw lef Mab Duw, a'r rhai a glywant a fyddant byw." Y mae y rhai sy'n gwrando fy ngair i, yn clywed ynddo fy llef i fy hun, a'r unrhyw lef ag a'u deffry yn y dydd diweddaf sy'n eu dadebru yr awr hon. Y maent yn dechreu adgyfodi a byw cyn gynted ag y clywont fy llef. Er mai ym mhellach ym mlaen, sef, yn yr 8fed a'r 9fed adnod ar hugain, y mae'r Iesu yn sôn am yr adgyfodiad cyffredinol a'r farn ddiweddaf, etto y mae y testyn yn rhoi ar ddeall fod yr adgyfodiad a'r farn a fydd yn gyssylltiedig a'r adgyfodiad a'r farn y sydd, ac nad yw'r pethau mawr a wneir yn yr amlwg ond gorpheniad naturiol ar y pethau mawr a wnaed yn y dirgel. Yr adgyfodiad a'r farn a'r bywyd sydd yr awr hon yw *sail* a dechreuad yr adgyfodiad a'r farn a'r bywyd a fydd

ar ol hyn. Os ydyw athrawiaeth ymddadblygiad wedi dadguddio i ni rywbeth am Dduw, dyscu y mae-hi ei fod ef mewn creadigaeth ac mewn iachawdwriaeth hefyd, yn gweithredu yn raddol ac nid yn ddisymmwth, trwy beri i'r naill beth darddu yn naturiol o'r llall, neu trwy beri i'r un peth fyned rhagddo yn rheolaidd o'r naill gyflwr i'r llall. "Yn gyntaf, yr eginyn, ar ol hynny y dwysen, yna yr ŷd yn llawn yn y dwysen." Er fod y Beibl yn gyffredin yn descrifio creadigaeth y byd, yr adgyfodiad a'r farn, fel pethau yn cymmeryd lle mewn byr amser; ac megis pethau yn sefyll ar eu pennau eu hunan, etto y mae yn gwneyd hynny er mwyn dwyn pethau pell yn agos, ac felly eu gwneuthur yn fwy bywiog ac effeithiol, ac nid fel y deallai neb hwynt yn ol y llythyren. O ddeall rhagfynegiadau'r proffwydi yn ol y llythyren y methodd gan yr Iddewon adnabod y Messiah, pan ymddangosodd yn eu plith; ac os ydym ninnau yn disgwyl i'r Iesu ymddangos eilwaith trwy ddiscyn mewn cerbyd o gwmmwl o'r nef gyd â bloedd, â llef yr archangel, ac âg udgorn Duw, gallwn ddisgwyl dros byth cyn y gwelwn ef yn ymddangos yn y modd hwnnw. Ffugrau—darluniau barddonol, ydyw descrifiadau o'r fath yma, ac er fod ffugr yn cynnwys gwirionedd, etto nid gwirionedd ydyw o ran ei ffurf, onid e, fe beidiai â bod yn ffugr. Dylid cofio fod dynion, cyn dyfeisio'r gelfyddyd o scrifennu, yn dyscu ffeithiau a gwirioneddau i'w gilydd trwy ddarluniau; a darluniau wedi eu troi yn eiriau ydyw llawer o'r pethau sydd yn y Beibl, ac ym mhob hên lenyddiaeth. Mewn gwirionedd, hên ddarluniau ac arwyddluniau yr ydys yn eu cael ym Mabilon, yn Assyria ac yn yr Aifft, ydyw'r esponiad gorau ar lawer pennod o'r Beibl. Er engraifft, pan fynnai'r hynafiaid gadw'r traddodiad ddarfod i ddiafol demtio mam pob dŷn byw, gwneyd darlun a wnaethant o sarff ar bren yn annog gwraig i fwytta o'r aeron oedd arno; ond

nid oedd yr hên ddarlunwyr hynny yn amcanu rhoi ar ddeall i neb fod a wnelo sarff ddim â themtio dŷn. Arwyddlun yn unig oedd y sarff o ryw yspryd maleisus oedd yn dylanwadu ar ddŷn oddi allan; ac yn wir, felly yr ydys yn esponio'r ffugr yn Llyfr y Dadguddiad: "yr hên sarff, yr hon a elwir diafol a Satan, yr hwn sy'n twyllo'r holl fyd." Ac nid yw'r darlun diweddarach a wnaed o'r sarff yn cerdded ar ei thor, ac yn bwytta pridd y ddaear, ond ymgais i ddangos fod y diafol mewn rhyw fodd wedi ei ddarostwng o achos iddo demtio dŷn.

Er fod yr apostolion, a hyd yn oed yr Iesu ei hun, yn fwy mynych na pheidio, yn llefaru am bethau i ddyfod yn iaith arferol eu cydwladwyr a'u cydoeswyr, etto y maent weithiau yn llefaru am danynt yn noethach ac yn fwy ysprydol. Yn Efengyl Ioan, yn enwedig, y mae'r Iesu yn dangos fod y pethau yr oeddid yn gyffredin yn eu gwthio i ychydig o le ac ychydig o amser yn y dyfodol, yn bethau presennol a pharhaol.

Felly, dyma'r pwngc yr ŵyf yn bwriadu traethu ychydig arno ar bwys y testyn, sef, *Fod y pethau mawr sy'n ein haros ar ol hyn, yn bethau yr ydys yn eu profi yr awr hon.*

Y mae hyn yn wir am y tri pheth y mae'r testyn yn sôn am danynt, sef am yr adgyfodiad a'r farn a'r bywyd tragwyddol.

Y mae yn wir, yn y lle blaenaf, am yr adgyfodiad. Nid yw'r gair adgyfodiad ddim yn y testyn; ond y mae myned trwodd o farwolaeth i fywyd yn golygu'r adgyfodiad i fywyd, ac y mae myned yn fyw trwy glywed llef Mab Duw yn golygu bywhau y meirw trwy eu hadgyfodi. Am hynny y dywedir yn yr unfed adnod ar hugain, "Megis y mae'r Tad yn cyfodi y rhai meirw ac yn eu bywhau, felly hefyd y mae'r Mab yn bywhau y neb a fynno." Nid fe'u cyfyd ac fe'u bywheir a ddywedir, eithr y *mae* yn eu cyfodi, ac y *mae* yn eu bywhau. Nid fel gweithred ddyfodol y mae'r

Iesu yn golygu adgyfodiad y meirw, eithr yn hytrach fel gwaith presennol a pharhaol. Yn hytrach, meddaf, canys nid yw'r Iesu yn dywedyd fod y Phariseaid, a chorff y genedl Iddewig, yn cyfeiliorni wrth synio mai yn y dydd diweddaf yr adgyfodir y meirw; o blegid yn niwedd amser y *gorphennir* eu hadgyfodi. Y mae'r Iesu yn yr ŵythfed adnod ar hugain, wrth sôn am adgyfodiad i ddyfod, yn awgrymmu yr hyn y mae awdwr y llythyr at yr Hebreaid yn ei fynegi yn eglur, sef na pherffeithir neb o'r saint cyn dyfod yr amser i berffeithio'r cwbl. Nid oedd yr hên Enoc Evans o'r Bala yn rhyfygu dim wrth ddywedyd am y patriarchiaid a'r proffwydi, "Ni pherffeithir hwynt heb Enoc." Gall saint y ddaear hyd ddiwedd pob peth ddywedyd am saint y nef, "Ni pherffeithir hwynt hebom ninnau." Y mae'r saint trwy'r nef a'r ddaear yn gorff, a thra bo un aelod o'r corff heb ei berffeithio, ni all y corff ei hun fod yn berffaith. Y mae plant yr adgyfodiad yn tyfu gydâ'u gilydd, ac yn tyfu i'w gilydd, nes myned yn un â'u gilydd; ac am hynny, y maent yn disgwyl cyrraedd eu cyflawn faintioli ar yr un pryd. "Hyd oni ymgyfarfyddom oll, yn undeb ffydd a gwybodaeth Mab Duw yn ŵr—nid yn wŷr—yn ŵr perffaith, at fesur maintioli cyflawnder Crist." Y mae yn canlyn gan hynny, na bydd adgyfodiad neb yn gyflawn hyd oni adgyfodir pawb; o herwydd pa ham y mae'r Iesu, ar ol dywedyd fod yr adgyfodiad yn cymmeryd lle yr awr hon, yn dywedyd ym mhellach ym mlaen fod yr awr honno yn dyfod, ac mai awr yn dyfod ac yn dyfod a fydd hi hyd y dydd diweddaf.

Y mae rhai yn gweled anghyssondeb rhwng y ddau ymadrodd, ac eraill yn cyssoni'r ymadroddion trwy ddyweyd mai adgyfodiad ysprydol sy'n cymmeryd lle yn "awr" y testyn, ac mai adgyfodiad y corff a gymmer le yn "awr" yr ŵythfed adnod ar hugain. Y mae mesur o wir yn yr esponiad hwn, ond nid yw yn cynnwys y gwir i gyd, canys

y mae yn cuddio dau wirionedd arall. Un ydyw, nad yw'r Iesu, pan yn llefaru yn noeth, sef heb ddammeg ac heb ffugr, ddim yn gwahanu adgyfodiad y corff oddi wrth adgyfodiad yr yspryd. Yn ei olwg ef, nid yw bywhau dŷn yn fewnol a'i fywhau yn allanol ond dwy wedd ar yr un a'r unrhyw adgyfodiad. Y mae'r bywyd sydd o fewn dŷn yn ymledu trwyddo, yn ymwthio o'r dirgel i'r wyneb, yn treiddio trwy yr yspryd hyd i'r corff, nes dylanwadu o'r diwedd ar yr holl ddŷn. Am hynny, y mae Paul yn dangos ei fod yn deall dysceidiaeth ei Arglwydd yn dda wrth ddywedyd "Yr hwn a gyfododd Grist o feirw a fywioccâ hefyd eich cyrff marwol chwi, trwy ei yspryd yr hwn sy'n trigo ynoch." Dyma'r peth arall yr ydys yn ei anghofio wrth wahanu adgyfodiad y corph oddi wrth adgyfodiad yr yspryd, sef nad yw adgyfodiad y corff ac adgyfodiad y cnawd ddim yn ymadroddion yscrythyrol. Am adgyfodiad y cnawd, y mae'r Beibl yn gwadu hynny yn bendant, gan ddywedyd na ddichon cig a gwaed etifeddu teyrnas Dduw; ac nad yw llygredigaeth, hynny yw nad yw dim sy'n ymlygru yn etifeddu anllygredigaeth. Am adgyfodiad y meirw, a'r adgyfodiad oddi wrth y meirw, y mae'r Testament Newydd yn sôn—am adgyfodiad y dŷn i gyd ac nid am adgyfodiad rhan o hono. Ond pa fodd, meddwch, yr adgyfodir y dŷn—y dŷn duwiol, os ydyw ei enaid yn escyn i'r nef, a dim ond ei gorff yn discyn i'r ddaear? Y mae'r cyfryw holiad a hwn yn cymmeryd yn ganiattaol beth y dylid ei egluro. Rhaid cofio fod yr Iesu a'i apostolion yn fynych iawn yn galw bywhau y meirw yn adgyfodiad, am mai hwn oedd y gair cyffredin a chynnefin ym mhlith yr Iddewon, ac nid am mai efe oedd y gair cymmwysaf; yr un modd ag yr ydym ninnau yn parhau i ddywedyd fod yr haul yn codi ac ym machlud, er ein bod yn gwybod yn burion nad ydyw'r haul yn codi nac ym machlud. Yn awr, yr oedd yr

Iddewon yn synio mai myned i lawr ac nid i fyny yr oedd enaid a chorff dŷn ar ol marw, ac felly na ellid ei fywhau namyn trwy adgyfodi. "Ni adewi fy enaid yn uffern," meddai'r Salmydd ei hun. I uffern, hynny yw, i annwn, i'r pwll, i Hades, yr oedd eneidiau drwg a da yn myned ar ol marw; ond yn yr uffern honno, yr oedd dau le, a gagendor mawr rhyngddynt, sef Paradwys neu fynwes Abram, a Gehenna. Am yr eneidiau oedd yn Gehenna, fe'u gadewid hwy yno byth. Am yr eneidiau da, caent hwy fyned i'w cyrff eilwaith, a'u codi o'r Baradwys uffernol i Baradwys Duw, yr hon a elwid y drydedd nef. Dyna'r syniad cyffredin ym mhlith yr Iddewon, ac nid oedd yn wiw gan yr Iesu ei wrthwynebu na hyd yn oed ei feirniadu bob amser. Yn hytrach, y mae efe yn llefaru weithiau yn gyttunol â'r farn gyffredin, megis yn nammeg y gŵr goludog a Lazarus. Ond weithiau eraill, y mae yn rhoi heibio lefaru am y pethau mawr diweddaf yn null ffugrol ac anianol y bobl, ac yn llefaru am danynt yn ei ddull syml ac ysprydol ei hun. Pan ddywedodd Martha ei bod yn gwybod yr adgyfodid ei brawd yn y dydd diweddaf, y mae'r Iesu yn dywedyd "Myfi yw'r adgyfodiad a'r bywyd." "Yr hwn sy'n credu ynof fi, er iddo farw, a fydd byw, a phwy bynnag sy'n fyw ac yn credu ynof fi, ni bydd marw yn dragywydd." "Nid yw efe Dduw y rhai meirw ond y rhai byw." "Yr hwn sy'n credu a aeth trwodd o farwolaeth i fywyd." Y mae'r gwirionedd sydd yn yr ymadroddion hyn mor olau fel y mae yn dallu'n llygaid; a chan fod ein llygaid yn dywyll, y mae'r gwirionedd mor annealladwy i ni a phe buasai'r gwirionedd ei hun yn dywyll. Ond yr ydym yn canfod yn yr ymadroddion hyn un peth yn eglur, sef, fod yr adgyfodiad yn gyssylltiedig a pherson byw, a'i fod ef *yn* cyfodi, ac *yn* bywhau y rhai sy mewn undeb âg ef.

Y mae Apostol y Cenedloedd yn dywedyd mewn

mannau fod y credinwyr *wedi* cydgyfodi â Christ, ac wedi eu cydfywhau ynddo ef; ac fe ddarfu i Hymeneus a Philetus ŵyrdroi yr ymadroddion cryfion a chyfriniol hyn, trwy ddywedyd ddarfod yr adgyfodiad eisoes.

Ond nid yw'r apostol yn awgrymmu *ddarfod* yr adgyfodiad: dywedyd y mae fod yr adgyfodiad wedi dechrau, ac na bydd diwedd arno hyd ddiwedd amser. "Gan fod yn hyderus yn hyn, y bydd i'r hwn a ddechreuodd ynoch waith da ei orphen hyd ddydd Iesu Grist. Pob gwaith da y mae Duw yn ei wneyd ar ddŷn, y mae yn ei wneyd yn raddol, ac yn gyttunol â deddfau naturiaeth y dŷn ei hun. Y mae corph yr adgyfodiad megis yn tyfu oddi tan y corff cnawdol. Fel y mae'r enaid genedig yn ffurfio iddo'i hun, ac am dano'i hun, gorff anianol, cyfaddas i'r fuchedd hon, felly y mae'r enaid ailanedig yn ffurfio iddo'i hun gorff ysprydol, cyfaddas i'r fuchedd dragwyddol. Cyn gynted ag yr ymadawom o'r corff llygradwy hwn, bydd i ni gorff anllygredig; canys y mae rheswm yn ein dyscu na all enaid fod heb ryw fath o gorff. Pan ddioscer ni o'n gwisc uchaf, nid yn noethion y'n ceir; y mae gennym ni wisc arall, feinach oddi tan y wisc hon. "Canys ni a wyddom," medd yr apostol, "os ein daearol dŷ o'r babell hon a ddattodir, fod i ni adeilad gan Dduw," hynny yw, fod gennym ni eisoes gorff oddi wrth Dduw; er hynny, y mae'r un apostol yn dangos mewn mannau eraill, na bydd y corff newydd a geiff yr enaid yn awr marwolaeth, ddim yn berffaith a chyfan hyd ddydd Iesu Grist; am hynny, y dydd hwnnw a ellir ei alw yn fwyaf priodol yn ddydd yr adgyfodiad.

Yn lle seilio fy syniad am yr adgyfodiad ar y cyffelybiaethau Iddewig a geir yn epistolau cyntaf Paul, y mae yn well gennyf fi, yn gyttunol â diwinyddion gorau yr oes hon, seilio fy syniad ar yr ymadroddion symlach a mwy

ysprydol a geir yn Efengyl Ioan ac yn yr ail epistol at y Corinthiaid.

Er fod llai o gyffelybiaethau Iddewig yn y llythyr cyntaf at y Corinthiaid nag sydd yn y llythyr cyntaf at y Thessaloniaid, etto, nid yw hwnnw chwaith mor rydd oddi wrthynt ag ydyw yr ail Epistol at y Corinthiaid. Yn ail, y mae'r testyn yn dangos fod y farn yr un ffunudyn rhywbeth presennol a pharhaol, ond y mae yn dangos ar yr un pryd nad yw'r crediniwr yn ddarostyngedig i farn o fath yn y byd. "Yr hwn sy'n credu, nid yw yn dyfod i farn, eithr y mae efe wedi myned trwodd o farwolaeth i fywyd." Cafodd efe drwydded—*free pass*, i fyned trwy y porth breiniol, ac ar hyd y ffordd neillduedig, sy'n myned heibio i le barn; fel y mae efe bellach wedi gadael pob barn o'i ol. A pha ham attolwg nad yw neb yn ei farnu ef? Am ei fod ef wedi achub y blaen ar ei Farnwr trwy farnu ei hun. Wrth gredu ym Mab Duw, fe'i holodd ei hun; fe'i profodd ei hun, ac fe'i barnodd ei hun yn euog. Trefnodd efe frawdle iddo'i hun. Aeth i le'r achwynwr i achwyn arno'i hun. Symmudodd i le'r tyst i dystiolaethu yn ei erbyn ei hun. Safodd yn lle dadleuwr y Goron i yrru adref bob cyhuddiad yn ei erbyn ei hun. Escynnodd i faingc y Barnwr, a chan ddodi'r cap du am ei ben, fe'i condemniodd ei hun i farwolaeth dragwyddol. Gan nad arbedodd ei hun, fe ddiangodd byth gan ei Farnwr. "Pe iawn farnem ni ein hunain ni'n bernid."

"Yr hwn sy'n credu, nid yw yn dyfod i farn." Y mae hyn yr un peth a dyweyd fod yr hwn nid yw yn credu yn dyfod i farn—*yn* dyfod. Yr ydys yn barnu'r annuwiol yr awr hon; yr ydys mewn gwirionedd *wedi* ei farnu:—"Yr hwn nid yw yn credu a ddamniwyd eisoes." Y mae efe yn uffern hyd yn oed ar y ddaear; canys pa beth ydyw uffern? neu pa beth ydyw'r ddamnedigaeth sy'n gwneyd uffern yn uffern? "Hon yw'r ddamnedigaeth, ddyfod

goleuni i'r byd, a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy na'r goleuni." Y mae fod dŷn yn caru yr hyn sydd anhawddgar, neu yn caru'r drwg yn fwy na'r da, yn ei wneyd mor druenus a phe bâi eisoes y'Ngehenna. Yno, y mae'r gosp o'r un natur a'r bai. "Pa beth bynnag a heuo dŷn, hynny hefyd a fed efe." Ai ofni yr ydwyt y'th gospir â rhyw bethau allanol a matterol, megis tan a brwmstan a phoethwynt ystormus? Ofna yn hytrach y gosp fewnol ac ysprydol hon, sef dy fod wrth bechu yn myned yn fwy o bechadur, a'th fod wrth barhau i rodio yn y tywyllwch yn myned i garu'r tywyllwch yn fwy na'r goleuni. Hon yw'r ddamnedigaeth; hon sy farnedigaeth ofnadwy. Y mae'r neb a becho yn erbyn Duw yn gwneyd cam â'i enaid ei hun, yn dyfetha'i hun, ac y mae hyn y gospedigaeth drymmaf a all dŷn ei dwyn arno'i hun. Y mae'r Beibl yn tystiolaethu fod y cyfryw ddŷn yn druenus iawn; ïe, y mae Plato a Plutarch, er mai paganiaid oeddynt, wedi profi fod yn annichon i'r anghyfiawn fod yn dded-wydd. A ydych yn meddwl fod y fath ddynion a Joseph Chamberlain, Alfred Milner, Cecil Rhodes, Brabant a Kitchener yn ddynion dedwydd, am eu bod yn tyrru arian, ac yn cael tippyn o glod diwerth gan boblach o'r un naturiaeth a hwynt-hwy eu hunain? A ydych yn meddwl fod y milwyr hynny sy'n ymddifyrru mewn gwanu eu cyd-ddynion, ac yn galw'r fath chwarae yn *pig-sticking* yn gwybod am ryw ddedwyddwch uwch na dedwyddwch y bwystfil? A ydych yn meddwl fod y pregethwyr a'r cennadon rhyfedd sy'n cyfiawnhau pob rhyfel a wneler yn erbyn y Sineaid, y Caffiriaid, y Matabeliaid a'r Bwyriaid, yn mwynhau'r tangnefedd sydd uwch law pob deall? Ar air, a ydych yn credu fod y rhai y mae eu gogoniant yn eu cywilydd, yn ddigon chwaethus i brofi mwyniant gwell na mwyniant pechod? Na, dynion annedwydd ydyw y rhai *hyn* oll, hyd yn oed yn y byd hwn, ac ni fynnai'r saint

distadlaf ar y ddaear ddim bod yn eu lle. Caru'r tywyllwch y maent—yr unrhyw dywyllwch a thywyllwch uffern; ac y mae'r cariad annaturiol hwn ynddo'i hun yn farnedigaeth arnynt, am ei fod yn eu cymmwyso i golledigaeth dragwyddol.

Er nad yw credinwyr yn dyfod i farn condemniad, etto y mae credinwyr ac anghredinwyr yn cael eu barnu yn ystyr cyntaf a chyffredinaf y gair, sef trwy gael eu gwahanu oddi wrth eu gilydd. Y mae'r wyntyll eisoes yn llaw'r Barnwr, ac â honno y mae efe yn gwahanu'r gwenith oddi wrth yr us. Y mae'r Iesu beunydd a byth yn barnu dynion yn ol eu gweithredoedd, ac yn eu gosod ar y dde, neu ynte ar yr aswy. Y mae yn dywedyd yr awr hon:—"Blant fy Nhad deuwch i'r ochr yma; weithredwyr anwiredd, ewch i'r ochr accw."

Yn Llyfr Daniel a Llyfrau'r Apocrypha, a hyd yn oed yn y Testament Newydd, yr ydys yn sôn am ddydd barn, am fangre'r farn, am lyfrau'r farn, am orseddfaingc barn, am y Barnwr yn eistedd arni, ac am bawb yn sefyll ger ei fron yn hanner cylch, yn ol y drefn y byddid yn eistedd yn y senedd Iddewig. Prin y rhaid dyweyd na bydd Dyffryn Jehosaphat nac un dyffryn arall, yn ddigon eang i gynnwys holl genedlaethau'r ddaear; ac na bydd dydd o ddeuddeng awr yn ddigon hir i'w barnu, yn ol dull dynion o farnu. Y cwbl a allwn ei gasclu oddi wrth y ffugrau hyn ydyw, fod adeg yn dyfod pan y bernir dynion yn llwyr ac yn derfynol, ac y dyfernir y rhai edifeiriol i ddedwyddwch tragwyddol, a'r rhai cyndyn i drueni tragwyddol. Y mae'r farn yn cymmeryd lle o hyd, ond yn niwedd amser y gorphennir hi. Bydd y dydd hwnnw yn bwysig am y bydd yn ddydd diweddaf. Ym mhob peth arall, y mae'r dydd hwn yn bwysiccach na'r dydd hwnnw; canys, "Wele yn awr yr amser cymmeradwy, wele yn awr ddydd yr iachawdwriaeth."

Yn y 3ydd lle, y mae'r testyn yn mynegi fod y bywyd tragwyddol hefyd yn fywyd presennol a pharhaol. "Yr hwn sy'n credu, y mae ganddo ef fywyd tragwyddol; ac y mae efe *wedi* myned trwodd o farwolaeth i fywyd."

Yr unrhyw fywyd ag a fydd gan ddŷn yn y byd a ddaw sy ganddo yn y byd hwn hefyd; a mesur helaethach yn unig o'r bywyd sy ganddo yn y byd hwn, a fydd ganddo yn y byd a ddaw hefyd. Gan fod credu yNghrist yn dwyn dŷn i undeb âg ef, y mae hynny ar unwaith yn ei wneyd yn gyfrannog o'i fywyd ef. Yr ymuniad â Mab Duw, ac nid gwahaniad y corff a'r enaid yn angau sy'n peri cyfnewidiad mawr ar ddŷn. Awr y credu ac nid awr marwolaeth ydyw'r awr benderfynol yn ei hanes ef. Nid yw marw yn newid dim ar natur dŷn; ni all wneyd hynny, ac ni ordeiniwyd iddo wneyd hynny. Fel y bydd dŷn yn myned *o'r* byd hwn, felly yn union y bydd efe yn myned *i'r* byd arall. Bydd yn dechrau ei fyd yno yn y man y darfu iddo'i ddiweddu yma. Na thybied neb y gwnêl Angau well gwaith arno nag a wnaeth yr Yspryd Glân ac ordinhadau'r efengyl. Y cwbl a wnêl Angau a fydd ei ollwng i mewn i fyd lle y bydd ei gynnydd mewn daioni, neu ynte mewn drygioni, yn gyflymmach nag oedd ei gynnydd yn y byd hwn. Er hynny, ni ddeil neb a redodd ei yrfa yn fuscrell byth mo'r neb a redodd yn dda. Bydd cymmaint o bellder rhyngddynt ar lwybr bywyd yn y nef ag oedd rhyngddynt ar lwybr bywyd ar y ddaear. Y dynion a ragorodd fwyaf yn yscol Crist ar y ddaear a geiff y flaenoriaeth yn y nef.

Y credu, meddaf etto, ac nid y marw ydyw'r ffaith fawr yn hanes yr enaid; canys wrth gredu, ac nid ar ol marw, y mae efe yn dechrau byw ei fywyd newydd a thragwyddol. Y mae'r bywyd hwn yn diddymmu angau, ac yn distrywio'r clawdd sy rhwng y ddaear a'r nef, a rhwng amser a thragwyddoldeb. Nid bywyd dyfodol yn unig ydyw bywyd credinwyr, eithr bywyd tragwyddol, a bywyd sy

gan hynny yn ymestyn i'r amser presennol. Yn wir, nid rhywbeth sydd ar wahan i amser ydyw tragwyddoldeb, eithr rhywbeth sy'n cynnwys amser. Y mae yn cofleidio yn ei fynwes fawr nid yn unig yr amser a fydd eithr hefyd yr amser y sydd a'r amser a fu. Pan y ganwyd dŷn o wraig, fe ddechreuodd *fod* yn dragwyddol, a phan y'i ganwyd o Dduw fe ddechreuodd *fyw* yn dragwyddol. I'r dŷn sy wedi dechrau byw ei fywyd tragwyddol, nid oes marwolaeth. Ni bydd efe marw, ie, ni all efe farw. Fe all ymddattod ac ymddiosc, fe all orphwys, fe all huno a chyscu, ond y mae yn rhy fyw i farw. A dyweyd y gwaethaf, marw megis o fregedd y mae'r dŷn duwiol; y dŷn annuwiol sy'n marw o ddifrif.

Ond nid dywedyd yn unig na bydd y crediniwr byth farw y mae'r testyn, eithr dywedyd fod ganddo eisoes fywyd tragwyddol, a'i fod wedi myned trwodd o farwolaeth i fywyd. Y mae dywedyd ei fod yn fyw yn fwy peth na dywedyd na bydd efe farw. Y mae bod byth yn fyw yn gyflwr uwch na bod byth heb farw. Er fod bywyd tragwyddol yn cynnwys anfarwoldeb, etto nid yw anfarwoldeb yn cynnwys bywyd tragwyddol. Da negyddol ydyw anfarwoldeb, ond y mae bywyd tragwyddol yn dda pendant. Yr oedd anfarwoldeb yn wirionedd hysbys i'r byd cyn dyfod Crist, ond efe a ddygodd fywyd i oleuni. Ac nid bywyd a geir ar ol marw ydyw'r bywyd hwn, eithr bywyd yr ydys yn ei gael cyn marw; a chan ei fod yn fywyd tragwyddol, y mae yn attal ei berchennog rhag marw yn wirioneddol. Un yw bywyd y Cristion yn y byd hwn a'r byd a ddaw; a pha gyfnewidiad bynnag nad yw yn hollti ac yn rhannu'r byd hwnnw, nid yw hynny yn haeddu ei alw yn farwolaeth. Ffordd dragwyddol ddirwystr yw ffordd y bywyd i'r nef; ac os oes afon ar ei thraws, ynghyffiniau'r ddau fyd, afon sych iawn ydyw. Ei thywod ac nid ei thonnau a wêl y pererinion. Yn wir, y mae'r

testyn, o'i gyfieithu yn llythrennol, yn awgrymmu fod yr Iesu wedi gwneuthur pont dros afon Angau. "Yr hwn sy'n credu, nid ydyw yn marw, eithr y mae efe wedi myned *drosodd*, allan o farwolaeth i mewn i fywyd." Ni welodd y crediniwr eriôed, ac ni wêl byth farwolaeth amgen na'r farwolaeth yr oedd ynddi cyn credu, ac ni wêl fywyd uwch ei natur na'r bywyd a welodd wrth gredu. Pan ddaeth y bywyd hwn i mewn iddo ef, aeth yntau i mewn i'r bywyd. Y mae eisys wedi myned i mewn i lawenydd ei Arglwydd; y mae wedi dechrau ei nef ar y ddaear; canys porth yr adenedigaeth ac nid porth Angau ydyw porth y bywyd. Y mae pob marwolaeth o'i ôl ef, a bywyd tragwyddol, annherfynol, yn ymestyn o'i flaen.

Er fy mod yn dywedyd, ar bwys y testyn, na cheiff y saint byth well bywyd nag sy ganddynt yn awr, etto, fe'i cânt ef yn helaethach, ac fe'i cânt hefyd mewn gwell amgylchiadau. Byddant mewn gwlad well, mewn corff gwell, ac mewn cymdeithas well. Cânt weled eu Harglwydd megis ag y mae, a chartrefu gyd âg ef. Er hynny, y bywyd sydd o'u mewn a'u galluoga i fwynhau y bywyd oddi allan.

Pa fodd y mae Mab Duw yn bywhau ac yn cyfodi y rhai meirw yn y byd sydd yr awr hon? Trwy ei lef. Y mae'r llef hon yn llef nerthol: yn llef sy'n yscwyd y ddaear ac yn cynhyrfu nid yn unig y ddaear ond y nef hefyd. Er hynny, ni all neb ei chlywed heb ymwrando. Yr hwn sy'n gwrando gair yr Iesu sy'n clywed ei lef. Yr ydym, ysywaeth, yn clywed llawer o bethau heb wrando o'n gwirfodd. Ynghanol llefau aflafar meibion dynion, a ydym yn clywed llef groew, glochaidd Mab Duw? A ydyw sŵn eu hoffer a'u harfau hwynt yn peidio â boddi y "sŵn mwy hoff a'r sŵn mwy nefol glywir yn ei eiriau ef?" Ni all na chlywom dwrf y byd a llefau dynion, am eu bod hwy mor agos ac mor lliosog; eithr rhaid ini

ogwyddo'n clust i wrando, os mynnwn glywed llef yr Iesu; ac y mae y rhai sy'n clywed y llef hon yn myned yn fyw—mor fyw fel na byddant byth farw. O! y mae'r bywyd tragwyddol yn hawdd iawn i'w gael—ni raid ini ond agor ein clustiau ac agor ein llygaid na byddwn byw yn dragwyddol. "Y rhai a glywant a fyddant byw." "Pob un a'r sy'n gweled y Mab, y mae ganddo ef fywyd tragwyddol."

*Rhagfyr* 21, 1900.



